
PALESTINE.
Scale 1:1,500,000 (24 Stat. Miles-1in.)
0 10 20 30 40 Stat.Miles
Old Hebrew Names are written thus:—Shechem.
Greco-Latin Names are placed within brackets.
Periodical Streams are distinguished by a broken line.
— Old Roman Roads. — Railways. Nahr - Perennial
Rivers. W. (Wady) - Valley. Jebel - Mountain.
Lowland below the Level of the Sea.
Nahr el Kelb
Beirut
Deir el Kamr
Jebel esh Sheikh
(Anti Libanus)
Helbon
Anjar (Chalcis)
Mashita
Ashdod (Azotus)
Beth Shemesh
Askalan, Ashkelon
W. el Hesy
Ghuzzeh (Gaza)
W. Ghuzzeh
Gath
Adullam
Eglon
Beit Jibrin
Lachish
Bethlehem
Tekoa
Hebron
Debir
Carmel
3002
3346
Umm el Jerar Gerar
W. esh Sheriah
Beersheba
Bir es Seba
W. es Seba
City of Salt
Arad
Aroer
Engedi
Dead Sea
Bahr Lût
-1291 below S. L.
Zuerah
Akrabbim
Val of Salt
Arabah
Negeb
Khalasa (Elusa)
Ziklag
Rehoboth
Daroma
Edom (Idumea)
Wilderness of Judah
Medeba, Madaba
Baal Meon
Dibon, Dhiban
Aroer
Arnon
Rabbath Moab
(Areopolis)
Kir Moab, Kerak
Moab
Zered
Tophel
Darb el Haj, the Pilgrims Road
30' 35° East of Greenwich 30' 36°
31°
Bezetha
Psephinus
Fish Ga.
Hezekiah's Wall (Second Wall)
Old Ga.
Millo (Akra)
(Lower City)
Antonia
Sheep Ga.
Temple
Moriah
Ephraim Ga.
Amygdalon
Corner Ga.
Hippicus
David's & Solomon's (First Wall)
Herod's Palace
R. Cloister
Zion
(Upper City)
David Ga.
Ga. of Essenes
Potters Ga.
Water Ga.
Gihon
Ophel
Old Pool
Fountain Ga.
Valley of Hinnom or Gehenna
Aceldama
Tophet
Siloam
Zoheleth
Brook Kidron
George Philip & Son Ltd. The London Geographical Institute

# JERUSALEM:

# Y DDINAS SANCTAIDD.

GAN Y

PARCH. THOMAS E. ROBERTS, M.A.,
ABERYSTWYTH.

GYDAG AMRYW
DDARLUNIAU A MAPIAU,

A CHYDA DWY RAGDRAETH GAN
Y PRIFATHRAW DR. ROBERTS,
A'R
PRIF-FARDD DYFED.

Caernarfon:
ARGRAPHWYD A CHYHOEDDWYD GAN W. GWENLYN EVANS,
SWYDDFA'R "GENINEN."

—

1904

CYFLWYNIR

I'M

CYMDEITHION

AR Y DAITH I'R

DWYRAIN,—

Y PARCH. REES EVANS, LLANWRTYD.
,, J. MORRIS, CAERDYDD.
,, D. TYLER DAVIES, BWLCH.
MR. E. EDWARDS, LAURELS, ABERYSTWYTH.
,, T. HARRIS JONES, TON, YSTRAD.

# AT Y DARLLENYDD.

---

Gyda graddau o bryder yr wyf yn cyflwyno i'r cyhoedd ffrwyth fy astudiaeth yn ystod yr ychydig amser, ganiattawyd i mi gan alwadau fy swydd, er pan ymwelais â'r Ddinas Sanctaidd a'r Dwyrain.

Astudiaeth yw hon, fe gydnabyddir, sydd wedi ei hesgeuluso yn ein mysg fel Cymry er amser y Parch. John Mills; ac wedi ei amser ef y mae'r fath chwyldroad wedi cymmeryd lle ynglŷn â'r astudiaeth fel y mae Llenyddiaeth ychwanegol yn wir ofynol.

Mae cyfoeth o Lenyddiaeth Seisnig ar gael. Yn ystod y misoedd diweddaf ychwanegodd Proff. Hilprecht a Phroff. Sanday ddau lyfr drudfawr at y nifer helaeth o lyfrau oedd yn bod eisoes. Gwneir cyfeiriadau mynych at y cyntaf, a rhoddir yn niwedd y llyfr grynhodeb o lyfr Dr. Sanday, llyfr a gynhwysa lawer o *Plates* da, ond nid llawer o fater.

Wrth barottoi y llyfr a'i ddwyn allan o'r Wasg cefais gymmorth gwerthfawr gan fy nghyfaill, y Parch. D. Tyler Davies. Teimlaf yn rhwymedig hefyd i Dr. Roberts, Dyfed, a Dr. Ethe. Caf etto gyfeirio at fy nyled i'r boneddwr dysgedig, y Milwriad C. R. Conder.

Ceir yn y llyfr rai gwallau mewn orgraff. Yn nghorph y llyfr amcanwyd at orgraff y Beibl, am y teimlid fod honno yn fanteisiol mewn llyfr yn trafod pynciau ynglŷn â'r Beibl, ac yn cynnwys dyfyniadau helaeth o hono. Digwyddodd rhai gwallau mewn argraffu, fel y ceir engraifft ar waelod tudalen 99, lle y llithrodd "un o bob naw-deg" i fod yn "un o bob naw."

Nid wyf yn disgwyl bod yn ddigolled ynglŷn â'r ymgymmeriad. Ymgysurwn, modd bynnag, pe llwyddid yn yr amcan o leihau rhyw gymmaint ar y diffyg cydnabyddiaeth fodola yn ein mysg am ffrwyth ymchwiliadau diweddar yn y Dwyrain, a gwneud y Ddinas Sanctaidd a Gwlad y Ceidwad yn fwy adnabyddus a mwy anwyl. Dyna'm dymuniad.

Yr Eiddoch yn ddiffuant,

YR AWDWR.

# RHAGDRAETH.

## (a) Gan y Prifathraw T. F. Roberts, M.A., Ll.D.

Wrth gydsynio, ar gais yr awdwr, i ysgrifenu gair neu ddau ar achlysur ymddanghosiad "Jerusalem y Ddinas Sanctaidd," ni fynwn i neb feddwl fy mod yn hòni datgan barn ar waith un sydd —trwy ei gyfaddasder a'i lafur diflin—yn gymmaint cymhwysach na myfi i drin y pwnc, ac i gael ei gydnabod gan ei gydwladwyr fel awdurdod arno. Heb geisio gwneud dim mor ddiangenrhaid a hynny, y mae yn achos llawenydd i bawb sydd yn caru Cymru weled cyhoeddi llyfr ysgolheigaidd a dyddorol ar un o brif destynau serch ac efrydiaeth ein cenedl. Y mae pob awdwr a anturio ar wasanaeth o'r fath, ac a roddo y goreu sydd ynddo at ei gyflawni, yn haeddu cydnabyddiaeth a derbyniad Cymru yn gyffredinol. Y mae yr awdwr presennol wedi gwneud hynny, a'i wneud yn nghanol llu o ofynion eraill ar ei nerth a'i amser. Yn ddiau y mae efe a'i gydlafurwyr sydd yn ymroi i ysgrifenu yn ein hiaith ar hyn o bryd, i roi eu cydwladwyr ar ben y ffordd i ddeall a gwerthfawrogi yr Ysgrythyrau o'r newydd, yng ngoleuni yr ychwanegiadau diweddar at ein gwybodaeth, yn haeddu cymmeradwyaeth y rhai hynny ymhlith pob enwad sydd yn gwylio helynt llenyddiaeth Cymru, ac yn llawenhau o galon ymhob gwaith teilwng—o ba gyfeiriad bynnag y delo—ar unrhyw ran o faes disgyblaeth ac efrydiaeth y genhedlaeth ieuanc.

Ymhlith deiliaid yr Ysgol Sabbothol y mae cylchrediad penaf cyfrolau fel hon. Y mae yn glod adnewyddol i'r sefydliad bendithiol hwnw ei fod yn tynu allan at ei wasanaeth ddosbarth o awduron o ddysg ac ymchwiliad, a bod eu cynnyrchion yn deilwng i'w cydmaru â'r cyhoeddiadau goreu o gyffelyb amcan ymhlith cenhedloedd eraill.

Ond ni ddylai defnyddioldeb y fath lyfrau fod yn gyfyngedig i'r Ysgolion Sabbothol. Ni ddylent chwaith fod yn eiddo i'r enwad

hwn neu yr enwad arall. Dylent gael eu derbyn fel rhan o drysorau y genedl. Y mae gennym gyfundrefn o ysgolion canol-raddol, sydd yn cynnwys yng nghylch eu hefrydiaeth rannau helaeth o addysg Ysgrythyrol. Oni ddylai tyst-lyfrau Cymraeg fel y gyfrol bresennol gael eu croesawu yn yr ysgolion hyn? Oni ddylent fod yn nwylaw yr athrawon a'r ysgolheigion, neu o leiaf fod wrth law yn llyfrgelloedd yr ysgolion? Y mae yn bryd i'r genedl yn gyffredinol ddatgan ei hawl a'i braint yn y llyfrau sydd yn dyfod allan o'r wasg Gymreig.

Y mae canlyniadau pwysig yn ymddibynu ar y derbyniad a roddir i'n llenyddiaeth yn yr ysgolion. Os ceir ar ystyllod eu llyfrfeydd y goreuon o gynnyrchion y wasg Gymreig, yna ar yr ysgolheigion yn y pen draw y bydd y bai os na ddarllenant hwy. Nis gellir disgwyl i'r athraw fynd a'r disgybl trwy bob llyfr ar bob pwnc. Ond os bydd y llyfrau yn eu cyrhaedd troant eu dalenau er mwyn eu pleser eu hunain, a dechreuant ddysgu bod yn ddarllenwyr. Dysgant feddwl yn uwch o lyfr am ei fod yn Gymraeg. Dysgant fod efrydiaethau eu tadau yn parhau yn eu swyn a'u newydd-deb. Dywedant gydag anwyldeb, "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybrau."

Y mae daearyddyddiaeth yn un o'r efrydiaethau mwyaf dyddorol a mwyaf ymarferol yn holl gylch addysg ein Hysgolion, ac y mae felly am fod y cynlluniau newyddion a ddefnyddir i gyfrannu gwybodaeth ddaearyddol mor at-tyniadol i'r ieuenctyd. Defnyddir amrywiaeth eang o ddarluniau a mapiau i egluro'r gwersi. Yn yr ystyr hwn y mae "Y Ddinas Sanctaidd," oherwydd y cyfoeth darluniau a mapiau a geir yn y llyfr, yn debyg o fod yn hynod werthfawr a defnyddiol; ac yn ddiamheu dylai daearyddiaeth gwlad Palestina gael rhan helaeth o sylw yr ysgolheigion, oherwydd y lle arweiniol roddir iddi yn hanes dynolryw. Gwlad fechan ydyw, ac ni byddai yn ormod i bob Cymro fod mor hyddysg ynddi ag yn naearyddiaeth ei wlad ei hun.

## (b) GAN DYFED.

---

Llawenydd mawr i mi oedd deall fod yn mryd yr awdwr ddwyn allan y gyfrol hon, a llawenydd mwy oedd ei darllen ar ei ffordd drwy y wasg. Diau gennyf y bydd iddi fforddio yr un hyfrydwch i filoedd o'n cydwladwyr, sydd yn teimlo dyddordeb mewn materion Ysgrythyrol. Dywedir yn aml mai un ffordd effeithiol i ddysgu edifeirwch yw cyhoeddi llyfr Cymraeg, ac y mae yn ffaith yn hanes llawer un sydd a lleshad ei genedl yn agos at ei galon. Ond nid oes arwyddion y bydd edifeirwch yn dilyn y gwaith hwn, o du yr awdwr na'r darllenydd, gan fod llyfr o'r fath yn rhwym o hawlio lle parchus iddo ei hun. Y mae yma olion llafur dirfawr, a myfyrdod dwfn, ac ni adewir carreg heb ei throi i ddyfod o hyd i'r gwirionedd. Bydd y llyfr yn sicr o lanw bwlch a esgeuluswyd yn hir mewn llenyddiaeth Gymreig.

Canaan yw y wlad fwyaf dyddorol yn yr holl fyd. Y mae yn hollol ar ei phen ei hun, a pharha felly byth. Nid oes ynddi ryfeddodau synfawr fel yr Aipht, na golygfeydd mor arddunol a llawer gwlad arall. Ond y mae ynddi fwy—rhyw gyfaredd dwyfol-ddystaw yn swyno calon y byd ato ei hun. Nid oes gyfandiroedd yn rhy eang, na chyfanforoedd yn rhy beryglus i'w croesi, i gael un olwg ar y llecyn hwn o'r ddaear. Er fod barn y brophwydoliaeth er's oesoedd yn gorwedd ar y wlad, y mae ei bryniau a'i dyffrynoedd o hyd yn gyssegredig, a chysgodion rhyw ddwyfoldeb pell yn oedi'n dawel ar bob pant a chlogwyn. Wrth deithio drwyddi, nis gall dyn lai na theimlo fod y llèn rhyngddo a'r anweledig yn deneuach yma nag yn un rhan arall o'r byd; ac nid yw hynny yn rhyfedd pan gofiom y defnydd mynych a wnaeth Ysbrydoliaeth o'r wlad i egluro gwlad well. Arweiniwyd y byd at wirioneddau tragwyddol, drwy ei mynyddoedd, ei choedydd, ei blodeu, a'i chnwd. Y mae lliw y wlad ar holl addysg yr Ysgrythyrau, ac y mae deall y naill yn help mawr i gymeryd i fewn y llall. Drwy gyffelybiaethau y byddai yr Arglwydd Iesu yn egluro dirgelion teyrnas Dduw. Yr oedd egwyddorion tragwyddol, o'u pregethu yn noeth, uwchlaw cyrhaedd dyn. Dysgid iddo yr hyn nad oedd yn ei ddeall, drwy bethau dealladwy eisoes—drwy natur a phrofiad, pethau bywyd cyffredin yn ei ymyl; ac felly, yn araf, yr arweinid ef i fewn i gymdeithas y dirgelwch. Ammhosibl i ddyn gael syniad clir am y dwyfol a'r tragwyddol mewn un ffordd

arall, heb wthio gwybodaeth i'w ben drwy wyrth. Anfarwolwyd pethau symlaf y wlad yn y defnydd a wnaed o honynt i egluro gwirioneddau uwch; a phan edrychom arnynt, yr ydym yn teimlo eu bod yn cyfeirio'r meddwl yn syth at sylweddau mawrion y byd a ddaw.

Dyma'r wlad a neillduwyd gan Dduw i feithrin pobl iddo ei hun, ac i gadw coffadwriaeth o'i enw. Rhaid fod ynddi gyfaddasder arbennig i'r amcan mewn golwg. Nid o ddamwain y daeth yn etifeddiaeth yr addewid. Byddai syniad felly yn anfri ar yr Anfeidrol Ddoeth. Rhaid fod ynddi rywbeth uwchlaw pob gwlad arall yn fanteisiol i ddadblygiad crefydd ysbrydol bur. Y gorchymyn i dad y genedl oedd, gadael ei wlad ei hun, ac ymdaith i hon. Yr oedd Caldea allan o'r cwestiwn—nid am ei bod yn gartref eilundduwiau, oblegid yr oedd Canaan pan y meddianwyd hi gan y genedl yn llawn mor ddwfn yn y camwedd hwnnw. Rhaid fod rhyw resymau eraill dros ei arwain i wlad oedd yn hollol ddieithr iddo. Er mor ffrwythlon oedd yr Aipht, nid oedd hithau yn wlad gyfaddas i bobl etholedig Duw. Gan hynny, pan ddaeth yr amser, fe'u galwyd oddi yno. Buasai yn hawddach, ar ryw olwg, orchfygu un genedl ar lannau'r Nile, na gorchfygu saith y tu hwnt i'r Iorddonen. Ond eiddo Canaan oedd yr addewid, a dyma'r wlad a "chwennychodd Duw i'w phreswylio."

Pam hon? Cynnygir llawer o attebion nas gallwn fanylu arnynt ar hyn o bryd. Diau fod ynddi rywbeth cydnaws â natur yr Iuddew, ac â bywyd bugeiliol ei dadau. Yr oedd yn wlad neillduedig, fanteisiol i gadw ei chrefydd rhag dylanwadau andwyol cenhedloedd eraill. Os edrychir arni yn anianyddol, cawn fod ynddi fesur o amrywiaeth pob gwlad arall. "Y mae yr Arglwydd dy Dduw yn dy ddwyn i mewn i wlad dda, i wlad afonydd dyfroedd, ffynnonau a dyfnderau yn tarddu allan yn y dyffryn, ac yn y mynydd. Gwlad gwenith, a haidd, a gwinwydd, a ffigyswydd, a phomgranadau; gwlad olew olewydden, a mêl. Gwlad yr hon y bwyttei fara ynddi heb brinder, ac ni bydd eisiau dim arnat ynddi; gwlad yr hon y mae ei cherrig yn haiarn, ac o'i mynyddoedd y cloddi bres." O waelod cynhes y wlad, i fyny i gyrau oerion Hermon a Libanus, ceir bron bob hinsawdd ar wyneb y ddaear, a gellir tyfu cynnyrch pob gwlad, mewn cylch bychan, rhwng y ddau eithafion. Yr oedd hyn yn gwneud y wlad yn llecyn cyfaddas iawn i osod i lawr sylfeini crefydd, oedd i ymeangu dros yr holl fyd. Yr oedd ei safle ddaearyddol hefyd yn

fantais i'r un amcan, a myn yr Iuddew mai dyma ganolbarth y ddaear. Beth bynnag am hynny, yr oedd yn ganolog ac yn gyfleus i'r holl fyd adnabyddus y pryd hwnnw, fel y dengys amrywiaeth y cynnulliad ar ddydd y Pentecost. Yr oedd yn y gymmanfa honno gyd-grynhöad rhyfedd, o gyfandiroedd mawrion Asia, Affrica ac Ewrob, ac o'r ynysoedd unig yn y môr sydd yn gorwedd rhyngddynt. Yr oedd safle y wlad felly yn fanteisiol i wasgar Efengyl Duw i bob llwyth, iaith, a chenedl; a thra fyddo sôn am Waredwr, edrychir ar y llecyn bychan hwn o'r ddaear fel calon y byd.

Jerusalem, eilwaith, oedd calon y wlad—"Dinas y Brenin Mawr," a chysgod o'r Jerusalem fry. Ynddi, ac o'i chwmpas, y cymerodd y pethau rhyfeddaf le yn hanes dynolryw. Gwelodd lawer tro ar fyd, a gwelodd y byd lawer tro arni hithau. Bu yn uchaf mewn rhwysg a gogoniant, bu yn isaf hefyd mewn trueni a gwaradwydd. Y mae ei hanes yn un ramant fyw nad oes ei chyffelyb ar gôf-lyfrau'r byd. Nid ydym yn blino mewn myfyr ar ei helyntion, gan fod y cwbl yn dwyn perthynas agos âg iachawdwriaeth dyn. Er fod enw y ddinas yn arwyddo "heddwch," nid llawer o heddwch a fwynhäodd. Rhyfeloedd, a sôn am ryfeloedd fu ei rhan drwy'r oesoedd. Prin y caffai godi ei phen ar ol y naill, na byddai arall yn dilyn. Bu holl alluoedd mawrion y byd yn gwarchae arni. Anrheithiwyd ei chyssegr, ac ysbeiliwyd ei thrysorau drachefn a thrachefn, a saif y ddinas bresennol ar weddillion dinystr llawer difrodydd. Ei chyssegr oedd y cymhelliad cryfaf i'r ymosodiadau fu arni yn yr hên amseroedd. Dymunol fuasai gwybod i sicrwydd, pa bryd, a chan bwy y sylfaenwyd hi. Gwyddom ei bod yn hên, ond y mae ei chyssylltiadau boreuaf yn ymgolli yn nhywyllwch y pellderoedd. Nid oes dim ond dychymygion yn gallu myned i fewn i'r caddug hwnnw, a daw y rhai hynny allan o hono fel rhai yn breuddwydio. Gwelant weledigaethau gwahanol iawn i'w gilydd, ac edrydd pob un ei stori fel gwirionedd diamheuol. Dyna'r anhawsder i benderfynu i sicrwydd beth sydd yn iawn, a pheth sydd yn gyfeiliornus. Yn nghanol amrywiaeth barn ar diriogaethau anhysbys, rhaid i hanesydd cywir feddiannu ei enaid mewn amynedd, a throi ei gefn ar y tryblith, a chychwyn yn ei flaen o'r fan lle y mae goleuni yn tori ar ei lwybr. Bydd ei daith ar y goreu yn ddigon araf, a chroesffyrdd lawer i'w ddyrysu, a thraddodiadau filoedd fel ysbrydion o'i gwmpas yn ei gymhell i bob cyfeiriad. Y mae

traddodiadau o bob llun yn tyfu yn Nghanaan, ac wedi camarwain y meddyliau mwyaf cawraidd i gasgliadau anghywir. Diau fod rhyw wirionedd pell yn sail i lawer chwedl, ond y mae ofergoelion o bob math wedi glynu wrthynt yn nhreigliad oesoedd, nes eu gwneud yn grynswth o ffolineb. Blinid y Gwaredwr yn fawr gan y rhai hyn, a chyhoeddodd farn condemniad arnynt lawer tro. Gorchwyl anhawdd, yn gofyn llafur mawr, a phenderfyniad diflino, yw cadw ar ganol llwybr barn ar hyd feusydd sydd yn un rhwydwaith o draddodiadau.

Teimlir hynny cyn belled yn ol a Melchisedec, "brenin Salem, ac offeiriad y Duw Goruchaf." Pwy oedd hwnnw, ac o ba le y daeth, sydd ddirgelwch. Rhyngodd bodd i Ddwyfol Ysbrydoliaeth gadw ei hanes bron i gyd dan lèn. Digon oedd ei ddwyn ger bron yn ei swydd ddyblyg, heb groniclo ei achau, fel cysgod o'r Messiah. Hyn a wyddom, ei fod yn teyrnasu yn "Salem" yn nyddiau Abram, ac i'r patriarch wrth ddychwelyd o ladd y brenhinoedd, ei gydnabod yn offeiriad y Duw byw. Efe oedd yr offeiriad cyntaf y tu-allan i'r cylch teuluaidd. Gan nad beth am gyflwr y wlad yn yr adeg honno, mae'n amlwg fod Salem yn eisteddle crefydd bur, a'i brenin yn adnabod ac yn gwasanaethu Brenin y brenhinoedd. Yn fuan ar ol hynny, dirywiodd yn fawr, llanwyd y wlad o dduwiau gau, ac felly y parhäodd hyd nes i Dduw fagu cenedl iddo ei hun i'w bwrw allan. Ond pa Salem oedd hon? Ymddengys fod yn well gan rai beirniaid roddi yr anrhydedd i bob dinas yn y wlad nag i Jerusalem. Myn Jerome mai Salim, yn agos i Ainon ydoedd, a bod gweddillion hen balas Melchisedec yno yn ei ddyddiau ef. Yr oedd Josephus yn byw dros dri chan mlynedd o flaen Jerome, ac wedi ei eni a'i fagu yn Jerusalem, ac yn dweyd yn ddibetrus mai Dinas Dafydd oedd Salem Melchisedec. Os oedd gweddillion yr hen balas yn weledig yn y bedwaredd ganrif, tybed y buasai Josephus mor ddall a'i anwybyddu, wrth ysgrifenu hanes ei wlad a'i genedl ganrifoedd cyn hynny? Onid yw hyn yn awgrymu mai ar ol dyddiau Josephus y daeth traddodiad Jerome i fod? Ond ar wahan i'r dadleuon dros ac yn erbyn, ymddengys i mi yn gydweddiad hapus i Archoffeiriad mawr ein cyffes ni, offrymu ei hun yn yr un ddinas ag y bu ei gysgod yn gweinyddu yn y swydd o'i flaen.

Ond nid oes angen i mi ymdroi gyda materion dadleuol, gan fod awdwr y llyfr hwn yn gwneud hynny yn dra deheuig. Y mae yn syn i Josua fethu darostwng y ddinas. Ymosododd arni, a

rhoddodd y rhan fwyaf diamddiffyn o honi ar dân; ond cadwyd mynydd Sïon gan y Jebusiaid, hyd nes i Dafydd drwy orchymyn Duw ei feddiannu. Wedi iddo sefydlu ei orsedd yno, daeth holl fywyd y genedl i droi o gwmpas Jerusalem. Cafodd yr arch le i orphwys wedi bod yn crwydro am flynyddoedd yn ddigartref, ac am dymor yn alltud ym mhlith y Philistiaid. Gweddnewidiwyd y ddinas, ac eangwyd ei therfynau, a chodwyd allorau i Dduw yn ei chanol. Ond yr oedd gormod o waed ar ddwylaw Dafydd i ganiatau iddo adeiladu'r deml, a gormod o ysbryd rhyfel hefyd yn y wlad. Oedwyd hynny hyd adeg fwy heddychol, a chafwyd llonyddwch i'r gwaith yn nheyrnasiad ei fab Solomon. Yn ei ddyddiau ef y gwelodd y ddinas ei gogoniant pennaf. Gellid meddwl fod aur fel cerrig at wasanaeth y brenin hwn, a'r cwbl yn cyfeirio i Jerusalem. Ond pan oedd y ddinas a'r cyssegr yn uchder eu gogoniant, y mae Solomon yn marw dan gwmwl, a theyrnasiad ei fab yn ddechreuad gofidiau. Gŵr digon annoeth oedd Rehoboam, er ei fod yn fab y doethaf o ddynion. Dibris yn ei olwg oedd cyngor henuriaid y bobl, a rhoddai fwy o bwys ar farn hogiau dibrofiad, ac aeth ei deyrnas yn gandryll. Gwrthryfelodd y deg llwyth, a sefydlwyd teyrnas arall yn ymyl. Ond tŷ wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun ni saif, ac felly y bu yn hanes y tŷ hwn.

Cyssylltiadau crefyddol Jerusalem a'i cododd i gymmaint bri. Ei pherthynas arbennig â'r Dwyfol roddodd uwchafiaeth iddi ar bob dinas arall, ac a'i gwnaeth mor anwyl gan ei phobl. Ffyddlondeb i'w chrefydd oedd bywyd y genedl—crefydd o drefniad Duw, nad oedd ei chyffelyb ar wyneb y ddaear, a'i breintiau yn gyfyngedig i etifeddion yr addewid, a Jerusalem yn fan cyfarfod. Nid brenhinoedd roddodd fri arni, eithr yr Hwn sydd yn llywodraethu ym mrenhiniaeth dynion. Naturiol oedd i'r Iuddew feddwl yn fawr o honi. Yr oedd ei galon wedi ymgylymu wrthi yn annattodol. Nis gallai weddïo mewn gwlad bell heb droi ei wyneb tuag yno. Nid defodaeth oedd hyn, ond adgof hiraethus am gyssegr Duw, yn peri iddo dremio'n mhell i gyfeiriad y Shecina rhwng y cerubiaid. Y fath ddyfnder o hiraeth sydd yn y geiriau tyner hynny—"Wrth afonydd Babilon, yno yr eisteddasom, ac wylasom, pan feddyliasom am Sïon. Ar yr helyg o'i mewn y crogasom ein telynau. Pa fodd y canwn gerdd yr Arglwydd mewn gwlad ddieithr? Os anghofiaf di, Jerusalem, anghofied fy neheulaw ganu. Glyned fy nhafod wrth daflod fy ngenau, oni chofiaf

di, oni chofiaf Jerusalem goruwch fy llawenydd pennaf." Y mae profiad mor doddedig yn cymhell ochenaid o galon dyn yn ddiarwybod iddo, ac yn gwneud i'r llygad mwyaf sych ddyfrhau. Yr un teimlad oedd yn meddiannu y Gwaredwr mawr ei hun, pan yn croesi mynydd yr Olewydd o Bethania, a'r holl ddinas ar y llechwedd gyferbyn yn dyfod i'w olwg: "A phan welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti." Nid drosto ei hun, er y gwyddai yn dda beth oedd yn ei aros ynddi. Pasiodd dinystr Jerusalem dros ei feddwl. Gwelai y deml yn sarn, a'r ddinas yn garneddau, a chlywai gri ei bobl yn eu gwaed yn esgyn i fyny o ganol y gyflafan—"A phan welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti." Y mae gennyf adgof byw am y fan honno ar y mynydd, pan ddaeth yr holl ddinas yn sydyn i'r golwg, a phawb yn sefyll yn fud, gan gofio dagrau'r Iesu.

Wrth edrych ar Jerusalem yn bresennol, ni ddyry ond syniad ammherffaith iawn am ardderchowgrwydd yr hyn a fu. Nid dyma'r wedd oedd arni yn nyddiau y Salmydd—"Tegwch bro, llawenydd yr holl ddaear yw mynydd Sïon, yn ystlysau y gogledd, dinas y Brenin mawr. Amgylchwch Sïon, ac ewch o'i hamgylch hi; rhifwch ei thyrau. Ystyriwch ei rhagfuriau, edrychwch ar ei phalasau; fel y mynegoch i'r oes a ddelo ar ol." Y mae ei thyrau presennol yn ddigon bylchog, a'i phalasau yn ddiogoniant, oddigerth y rhai newyddion sydd y tu-allan i'w rhagfuriau. Y mae ei swyn i gyd bellach yn ei henw, ac yn y llannerchau cyssegredig sydd o'i chwmpas. Y mae Morïah er's canrifoedd ym meddiant y Gau-Brophwyd, ac hyd yn gymharol ddiweddar, gwaherddid i bawb ond ei ddisgyblion roddi troed arno. Yr hen lecyn dyddorol a ddringwyd gan Abraham i offrymmu Isaac. Ceisiodd Stanley symmud y bryn i Samaria; ond gwrthdystiodd yr oesau, o'r patriarch i lawr, yn ei erbyn. Nid oes dim tebycach nag i'r amgylchiad hwnnw gymmeryd lle ar Morïah. Addefir gan bawb mai dyma safle'r deml, a dilys yw fod rhai o'i cholofnau yn gwneud i fyny y deml Fahometanaidd sydd yno heddyw. Pan gofiom sêl yr Iesu yn gyru allan y rhai a dröent dŷ Dduw yn dŷ marchnad, y mae y cwestiwn yn codi i'n meddwl, pa bryd y daw eto, â llymmach ffrewyll, i lanhau pen y bryn hwn?

Gan nad faint o anhawsder sydd i benderfynu saflëoedd rhai digwyddiadau pwysig, nid yw hynny yn eu diddymu, nac yn lleihau y dyddordeb ynddynt. Y mae Golgotha yno, pa un ai o fewn y muriau, ai y tu-allan i Borth Damascus. Nid yw

ofergoeledd wedi cynnyg ei symmud o Jerusalem. Nis gellir rhoddi bys i sicrwydd ar Faes y Crochenydd, ond y mae yno mor wirioneddol ag iddo gael ei brynu âg arian bradwr. Diau fod amcanion Dwyfol mewn golwg wrth gadw rhyw leoedd mewn dirgelwch. Felly Eden. Fe gauwyd ffordd yr Ardd am byth wedi gyru dyn allan o honi. Bendith yw cadw rhai gwrth-ddrychau oddiwrth ddyn, rhag iddo droi yn eilunaddolwr. Gwneir lleoedd yn gyssegredig gan ddigwyddiadau, ond nid yw y lle ynddo ei hun i gael mwy o barch na'r hyn a'i dygodd i sylw. Y mae gormod o hynny yn nglŷn âg Eglwys y Bedd, ac nid yw Gethsemane yn rhydd oddiwrtho. Y mae mynachod yr oesau, yn eu coelgrefydd, wedi andwyo bron pob llecyn cyssegredig yn y wlad, gan fod y chwedlau gwylltaf yn tyfu yn ôl eu traed. Wrth rodio o amgylch Jerusalem, cadwed y darllenydd yr Efengyl yn ei law, ac addoled Dduw uwchlaw pobpeth arall.



# CYNNWYSIAD.

## Y DARLUNIAU A'R MAPIAU.



---

# Rhagarweiniad Cyffredinol.

---

Mawr iawn a gwerthfawr yw'r cynnydd a wnaed yn ystod y chwarter canrif diweddaf ynglŷn â'r efrydiaeth o Wlad Canaan, a'r adnabyddiaeth o honi. Mae tri dosbarth o bersonau wedi gwasanaethu er casglu a gwasgaru gwybodaeth am y wlad hono, sef (1) *Yr ymwelydd*, yr hwn a esyd ei hun yn safle y trigolion, a gymmer ei gyfarwyddo ganddynt, ac a ddibyna ar y traddodiadau a ffynnant yn eu plith. (2) *Y darganfyddydd*, yr hwn, trwy gloddio a thrwy ymchwiliadau gwyddonol, a lwydda i sefydlu ffeithiau nad ydyw y trigolion yn hysbys o honynt. (3) *Y beirniad Beiblaidd*, yr hwn, yn ysbryd beirniadol yr oes bresenol, a edrych, nid yn unig ar ffeithiau hanes yn ngoleuni dysgeidiaeth Feiblaidd, ond hefyd ar ddysgeidiaeth Feiblaidd yn ngoleuni yr hyn brofir gan dystiolaethau Daearyddiaeth, Daeareg, Hynafiaeth a phethau cyffelyb. Hyd yn ddiweddar dibynid ar y dosbarth blaenaf yn unig, ond bellach y mae rhai o'r ddau ddosbarth arall wedi gwneud y wlad yn brif astudiaeth, ac amryw o honynt, er gallu cario ymlaen eu hymchwiliadau yn llwyddiannus, wedi treulio blynyddoedd yn y wlad. Yn ddiweddar hefyd y mae rhai o drigolion y wlad wedi d'od yn ddarganfyddwyr a beirniaid, ac wedi rhoddi llawer o gynorthwy yn y mater.

Gwlad pererindodau mewn modd neillduol yw y wlad. Nid oes gwlad yn y byd wedi ei theithio gymmaint a'r wlad hon. Yn ddiweddar teithiwyd hi gan Ymerawdwr yr Almaen. Flynyddau yn ol teithiwyd hi gan ein brenin presenol ni, ac wedi hyny gan ei feibion. Ac nid peth newydd ychwaith yw i'r wlad gael ei theithio gan wyr urddasol, oblegid ymysg y miliynau fu yn teithio ac yn archwilio y wlad y mae y rhai canlynol—Thothmes o'r Aipht, Senacherib o Assyria, Alexander o Facedonia, Vespasian o Rufain, a Napoleon o Ffrainc.

Pan ddaeth y wlad yn ngolwg Iwrop yn un gyssegredig, yr hyn a fu pan ddaeth Iwrop yn Gristionogol, amlhaodd y teithwyr fwy-fwy nes diweddu mewn bod llawer ymgyrch bwysig yn cael eu gwneud o Iwrop i'r wlad. Amcan cyntaf y rhai hyn oedd sicrhau caniatâd i Gristionogion i ymweled â'r lleoedd a ystyrid

yn gyssegredig ganddynt. Ar ol hyny daethpwyd i ymladd gyda'r amcan o feddiannu y wlad i Gristionogion a Christionogaeth. Gelwid y milwyr elent allan i Ganaan gyda'r amcanion hyn yn Grwysgadwyr *(Crusaders)*, a hyny yn un peth oblegid y gwisgent groes fel arwydd-nôd ar eu personau. Bu dau berson mewn modd arbenig yn offerynol i symbylu y miloedd yn ngwahanol wledydd Iwrop i ymuno â'r gyfryw Gâd Sanctaidd. Un ydoedd Pedr y Mynach, yr hwn, trwy iddo fod yn byw am flynyddoedd yn Nghanaan, a fu yn llygad-dyst o'r creulonderau tuag at Gristionogion a gerid ymlaen gan y Tyrciaid. Y llall oedd y pab Urban II. Collodd ugeiniau o filoedd o'r Crwysgadwyr hyn eu bywydau cyn cyrhaedd Canaan. Cyrhaeddodd yr ymgyrch gyntaf yno yn 1097, a brwydro mawr a fu rhwng Cristionogion a Mahometaniaid o'r adeg hono hyd ganol y 13eg ganrif, pryd y daeth y Grwysgadaeth Sanctaidd i derfyniad gwaradwyddus.

Gwlad yw hon a hanes anrhaethol bwysig yn perthyn iddi, mor bell ag y proflr ei fod yn wir hanes. Nid annaturiol yw fod *traddodiadau* i'w cael mewn helaethrwydd mawr yn y gyfryw wlad. Maent, yn wir, yn bethau sydd wedi cael cartref yno bob amser. Nis gellir dyweyd pa mor foreu y cychwynodd rhai traddodiadau, megys rhai am y rhieni cyntaf a'r patriarchiaid. Mae yn yr Eglwys Gristionogol hyd heddyw draddodiadau am leoedd a phethau yn y wlad ag ydynt wedi cychwyn mor foreu a'r 4edd ganrif, a rhai hefyd—megys yr un am ogof Bethlehem—wedi cychwyn yn llawer cynt na hyny. Dylem wylied rhag ein bod yn gwrthod y traddodiadau hyn yn syml oblegid rhagfarn tuag at y fath beth a thraddodiad. Ar y llaw arall, ni ddylem roddi crediniaeth ddiammodol iddynt yn syml oblegid eu henafiaeth. Rhaid, yn sicr, yw cydnabod mai un o'r gwersi sydd wedi eu dysgu i ni yn ddiweddar yw fod yr Eglwys yn y gorphenol wedi rhoddi gormod o sail ar draddodiadau Gwlad Canaan. Mae etto amryw hên lyfrau ar gael. Tra yn cydnabod fod gwerth yn perthyn iddynt oblegid eu henafiaeth, rhaid sylwi ei fod bellach wedi ei brofi nas gellir bob amser ddibynu arnynt, a hyny am eu bod hwy yn dibynu ar draddodiad ac nid ar ymchwiliad personol i'r mater. Hyn sydd i raddau mawr yn wir am ysgrifeniadau Pererin Bordeaux, Pliny, a Strabo, ac am yr hyn ddysgir yn ysgrifeniadau Rabbiniaid Iuddewig, croniclwyr Samariaidd ac awduron Groegaidd a Rhufeinig. Nid oes neb a wäd y pwysigrwydd a berthyn i "Weithiau Josephus," ond y mae yn eithaf eglur nas gellir ym

mhob-peth ddibynu ar yr hyn ddywed y milwr-hanesydd hwnw. Llyfr arall ag y mae pwysigrwydd helaeth wedi ei gyssylltu âg ef yw yr "Onomasticon." Dyma yr hynaf o'r llu mawr o lyfrau ar y wlad. Ei awdwr yw yr hanesydd Eusebius. Adolygwyd ef ac ychwanegwyd yn helaeth atto gan y sant Jerome. Ymddengys fod yr hên ysgrifenwyr hyn—Josephus, Eusebius, Jerome ac eraill, yn iawn pan yn traethu ar yr hyn oedd o fewn cylch eu sylwadaeth a'u gwybodaeth bersonol, ond nid ydynt mor gywir pan yn traethu am bethau y tu allan i'r cylch yna. Mae'r hyn ddywedant, er engraifft, am Bethlehem yn hollol gywir, ond gwnant gamgymeriadau amlwg ynglŷn â Cana. Pan geisiant ddesgrifio y wlad fel yr oedd dair canrif cyn eu hamser hwy nid ydynt o gwbl i ddibynu arnynt. Maent yn iawn, er engraifft, wrth ddesgrifio safle Siloh, ond nid wrth ddesgrifio safle Nob a lleoedd oeddynt erbyn eu hamser hwy wedi myned i ddinodedd, os nad wedi diflanu. Peth tebyg sy'n wir am dystiolaethau a desgrifiadau teithwyr a haneswyr diweddarach. Nodweddir cynnyrchion y Canol-oesoedd, fel eiddo y tadau, gan ddiffyg manylder.

Desgrifir y wlad yn y 6ed ganrif, sef yn adeg Justinian, gan Theodorus ac Antoninus Ferthyr. Pan ddaeth y wlad i ddwylaw yr Arabiaid caniateid pererindodau, ac un pererindod yn perthyn i'r cyfnod ag y mae hanes am dano yw eiddo St. Willibald. Yn amser Charlemagne, ac oblegid ei ddylanwad ef, cafodd y Rhufeiniaid ganiatâd i godi amryw adeiladau yn y wlad. Rhwng y 9fed ganrif a'r 12fed ganrif yr oedd y wlad yn ymarferol gauedig yn erbyn teithwyr estronol. Bellach, yr oedd wedi d'od dan ormes Dyrcaidd, a dyma'r adeg y dechreuodd milwyr y Grwysgad Sanctaidd roddi hysbysrwydd am y wlad. Ysgrifenasant lawer, ond rhyfedd mor helaeth y dibynent ar draddodiad, ac mor barod yr oeddynt i fabwysiadu golygiad heb chwilio i mewn i'w gywirdeb. Ymysg pethau eraill, daethant rywfodd i'r casgliad mai Zueirah oedd Soar, mai Amwas oedd Emmaus, ac mai Mizpah oedd Siloh. O'r 12fed ganrif hyd y 17eg ganrif gwnaed amryw bererindodau gan Rabbiniaid Iuddewig, ac y mae ffrwyth yr ymchwiliadau wnaed i leoedd cyssegredig ganddynt hwy yn wir werthfawr. Er dechreu yr 16eg ganrif y mae Gwlad Canaan wedi bod yn dalaeth Dyrcaidd, ac o'r adeg hono ymlaen, am dair canrif, bu yn gauedig yn erbyn dieithriaid, megys y bu hefyd am dair canrif eraill, rhwng y 9fed a'r 12fed ganrif. Yn ystod y cyfnodau hyn yr oedd pererindodau yn

bethau anhawdd, gwir beryglus, a hynod anfynych. Yn nechreu y ganrif ddiweddaf, sef adeg genedigaeth Cymdeithas y Beiblau a'r Cymdeithasau Cenhadol, adfywiodd y dyddordeb yn ngwlad genedigaeth Cristionogaeth, a daeth y pererindodau yn llawer amlach. Yn 1838, aeth Dr. Robinson o'r America yno, ac fe gychwynodd gyfnod o astudiaeth wyddonol o'r wlad, yr hon sydd wedi dadblygu fwy-fwy byth er hyny. I'r "Palestine Exploration Fund" yr ydym yn fwyaf dyledus am y cynnydd a'r cyfnewidiad yn y wybodaeth am y wlad, a chawn i hyn gael ei ddwyn oddiamgylch mor llwyddiannus trwy i'r Gymdeithas yna fod yn ddigon ffodus i sicrhau gwasanaeth nifer o swyddogion milwrol ein gwlad ag oeddynt yn meddu cymmwysder neillduol at y gwaith. Rhwng 1862 ac 1864, y Catrodfridog Wilson (Major-General Sir C. W. Wilson, R.E., K.C.B., K.C.M.G., D.C.L., LL.D., F.R.S.) oedd yn arwain, a chydag ef yr oedd y Catrodfridog Anderson, R.E., a Cadben Stewart, R.E. Dilynwyd y rhai hyn gan Cadben Warren (Lieut.-General Sir Charles Warren, R.E., K.C.B., F.R.S., G.C.M.G.). Wedi hyny daeth yr un a wnaeth fwy o waith na'r cwbl, sef y Catrodfridog Conder (Colonel Claude Reignier Conder, R.E., D.C.L., LL.D., M.R.A.S.) a chynnorthwyid ef gan y Milwriad Kitchener (Lord Kitchener, C.M.G., R.E.), Cadben Mantell, R.E., ac eraill. Gweithiodd Conder yn ddiwyd yn y wlad am yspaid o chwe' blynedd, a buasai yno am dymmor mwy oni bae i'r Sultan ei attal i gario ymlaen y gwaith yr oedd yn ei gyflawni gyda chymmaint llwyddiant. Cydnabyddir yn rhwydd i fwy gael ei wneud mewn casglu gwybodaeth gywir am y wlad drwy offerynoliaeth y Gymdeithas uchod yn ystod 1862—1882, ac yn neullduol yn ystod tymhor llafur diflino Conder, nag a wnaed yn ystod yr holl ganrifoedd eraill gyda'u gilydd. Yn un peth, gwnaed tirfesuriad (*survey*) manwl, a thrwy hyny rhoddwyd i'r byd wybodaeth gywirach am safleoedd y gwahanol fanau yn eu perthynas â'u gilydd, ynghyda'u pellder oddiwrth eu gilydd, am faintioli ac uchder y mynyddoedd, maintioli a dyfnder y dyffrynoedd, a phethau o'r fath. Y gorchwyl mawr ac anhawdd oedd penderfynu safleoedd y lleoedd y mae sôn am danynt yn yr Ysgrythyr. Gwaith yw hwn yn gofyn am ymchwiliad helaeth a gofal mawr. Ymhlith pethau eraill, rhaid sylwi: Ai yr un yw yr enwau, neu a ellir eu holrain? A yw amgylchiadau y lleoedd yn cyfatteb? A oes yn y lleoedd hen olion? A beth ddywed traddodiad ynghylch y lleoedd?

Tystia Walter Besant, yr hwn fu am flynyddoedd yn gweithredu fel Ysgrifenydd y Palestine Exploration Fund, fod Conder wedi cadw mwy o'r lleoedd hyn rhag myned i ebargofiant, hyny yw, ei fod wedi lleoli mwy o honynt oedd heb eu lleoli o'r blaen, na phawb eraill gyda'u gilydd fuont yn chwilio ac yn astudio y wlad. Yn un o'i lyfrau rhydd Conder restr o enwau trefydd, dyffrynoedd, mynyddoedd, afonydd, a ffynhonau ag y mae sôn am danynt yn yr Ysgrythyr, y rhai sydd erbyn hyn wedi eu lleoli yn y wlad, ac y mae 144 o honynt yn rhai wedi iddo ef ei hun eu darganfod.

Oddiwrth y cwbl, fe welir pa mor angenrheidiol yw cael mapiau, neu ddaearleni, wedi eu gwneud ar ol y tirfesuriad a'r darganfyddiadau helaeth y cyfeiriwyd attynt. Cydnabyddir fod rhai wedi eu gwneud yn flaenorol i 1872 yn rhy hên i fod o fawr werth, a bod y mwyafrif o'r rhai ddefnyddir gennym yn rhai camarweiniol. Mae yr un peth yn wir am y llyfrau gynnwysant nodiadau ar ddaearyddiaeth y wlad. Os ydynt wedi eu cyfansoddi chwarter canrif yn ol, nis gellir dibynu arnynt. Ond y mae'r wlad yn un rhy bwysig i ni ddibynu ar adnabyddiaeth ddiffygiol o honi pan y mae adnabyddiaeth gywirach yn gyrhaeddadwy.

Gwlad fechan iawn yw Canaan. Nid yw ond tua'r un faint a Chymru, ac fel Cymru y mae rhan helaeth o honi yn fynyddig. Gellir ei desgrifio fel arfordir dwyreiniol Môr y Canoldir—y llain cul o dir sydd yn rhedeg gyda phen dwyreiniol y môr hwnw. Mae wedi bod yn cael ei hadnabod wrth amrywiol enwau, a'r enwau hyny drachefn, fel yr ymddengys, yn meddu mwy nag un ystyr, ac yn dynodi ar un adeg fwy neu lai o gylch nag ar adeg arall. Un enw yw *Gwlad yr Addewid*, ac am dymhor yn unig, sef yn amser Dafydd ac am ychydig ar ol hyny, y bu y wlad o ran maintioli yn agos i'r hyn oedd i fod yn ol yr Addewid roddwyd i Abraham. Enw arall yw *Gwlad Canaan*. Cydolygir mai ystyr yr enw hwn yw "iseldir." Daeth hwn yn enw am yr holl wlad gan gynnwys yr iseldir gyda'r môr, yr iseldir gyda'r Iorddonen a'r mynydd-dir rhyngddynt, ond ar un adeg yr hyn olygid wrth yr enw oedd yr iseldir gyda'r môr, ac yn fwyaf pennodol yr arfordir gogleddol. Ceir felly mai Phenicia yw y rhan o'r wlad sydd yn cynrychioli yr hen Ganaan. Dyma'r Canaan (Kinakhna) ag y mae sôn helaeth am dano yn ysgrifau *Tell-el-Amarna*, ac iaith y cylch arbenig hwn yw iaith y *Garreg*

*Foabaidd.* Enw arall etto yw *Syria*, yr hwn enw, ar un adeg, a ddynodai gylch llawer eangach; oblegid cawn yn lle bod Syria yn golygu rhan gydmarol fach o Assyria ei fod yn cael ei ddefnyddio fel yn gyfystyr ag Assyria. Yr enw olaf nodwn yw *Palestina*. Dywedir mai yr un enw yw Palestina a Philistia. Gwelir felly i'r enw ar yr arfordir deheuol, sef Philistia, dd'od yn enw ar yr holl wlad, megys y daethai yr enw ar yr arfordir gogleddol, sef Canaan, yn enw hefyd ar yr holl wlad.

Mae i'r wlad fechan hon safle ganolog o bwys mawr ynglŷn â gwledydd eraill y byd. Desgrifir hi fel y "bont" sydd wedi bod yn cyssylltu Asia ac Affrica, ac fel "maes-brwydr" galluoedd Asia, Affrica ac Iwrop. Ymhellach hefyd yr oedd rhan helaeth o'r drafnidiaeth a gerid ymlaen rhwng Asia ac Affrica, a rhwng Asia ac Iwrop yn un a gerid ymlaen o angenrheidrwydd trwy Wlad Palestina.

Gyda safle ganolog y wlad nid rhyfedd yw cael fod ei thrigolion yn hynod gymmysglyd. Semiaid ydynt gan mwyaf, ond y mae llawer cangen o'r cyff Semïaidd gyda'u nodweddion amrywiol i'w gweled yn y wlad, ac wedi ymgasglu yno o Ogledd, Dwyrain a De—yn Pheniciaid, Syriaid, Arabiaid ac Abysiniaid. Mewn modd arbenig mae Gwlad Palestina wedi profi ei hun yn gartref i Arabiaid. Mae'r rhelyw o boblogaeth, heblaw Semïaid, sydd i'w cael yn y wlad yn cynrychioli amryw genhedloedd ac ieithoedd, fel mai anhawdd, fel y dywedir, yw cael yn unman y fath gasgliad o bobl gymmysg ag sydd i'w cael ar un o brif heolydd Jerusalem. Mae'r Iuddewon yn llawer lluosocach yno yn awr nag ydynt wedi bod ers canrifoedd, ac etto parhau y maent megys "dieithriaid a phererinion" yn eu gwlad eu hunain.

Dywed Duw iddo ddewis fel cartref i'w bobl wlad "yr hon yw gogoniant yr holl diroedd," Ezec. xx. 6. Ai gwir hyn am y wlad? Os felly, ar ba gyfrif y mae yn ogoniant yr holl diroedd? Nid oblegid ei maintioli, fel y sylwyd. Nid ychwaith oblegid ei thlysni. Arferir dychymygu am dani fel gwlad eithriadol o dlos; ond y gwir yw mai nid rhyw Switzerland o wlad mo honi. Mae ynddi ychydig olygfeydd tlysion, eithr yn y cyffredin golwg foel a hollol anattyniadol sydd i'w gael arni. Nid etto ar gyfrif ei gwylltineb mawreddog, yr hyn sydd yn gwneud gwlad fel Norway mor boblogaidd. O bosibl mai yr unig ffaith ynglŷn â'r wlad i gael sylw mewn llyfr ar Ddaearyddiaeth fyddai yr Iorddonen ynghyda'i dyffryn

a'i moroedd. Amlwg iawn yw nad ydyw y wlad i ddiolch am ei henwogrwydd i'r hyn y mae anian wedi ei wneud ynddi. Y mae yr un mor amlwg mai nid i gyflawniadau celfyddyd y mae i ddiolch am hyn. Ni fuasai adeiladau y wlad, na'i ffrwythydd, na'i gweithfeydd, na dim a berthyn iddi yn naturiol, yn gelfyddydol, na chymdeithasol, yn ei gwneud yn wlad adnabyddus, heb son am ei gwneud yn wlad i un fyned o'i ffordd i'w gweled. Er pobpeth o'r fath, gwlad fechan dlawd a dinod ymysg gwledydd y byd fuasai y wlad hon. Cyn d'od o honi yn wlad yr Iuddew yr oedd yn wlad o ffieidd-dra eithriadol. Y pryd hyny gwaradwydd yr holl diroedd ydoedd. Digon gwaradwyddus yw ei chyflwr hi yn awr, ac felly y mae wedi bod o hyd er pan ddaeth i ddwylaw'r Syriaid ac i gael ei llywodraethu gan yr Aipht a Thyrci.

Mawr fu ymlyniad yr Iuddew wrth ei wlad. I ba le bynag yr elai hiraethai am dani, ac os medrai, dychwelai iddi, neu talai ymweliadau cysson â hi. Peth dieithr i'r trigolion Syriaidd ac Arabaidd sydd yno yn awr ydyw gwladgarwch. Ni byddent yn brin o fanteisio ar gyfleusdra i fradychu eu llywodraethwyr a gwerthu eu gwlad. Ond nid felly yr hen breswylwyr Iuddewaidd. Os bu gwladgarwch pur digymmysg erioed bodolai yn mynwes yr Iuddew. Ond beth a barai iddo garu ei wlad mor fawr? Yr un peth a barai iddo ef wneud hyn ag sydd wedi gwneud y wlad mor enwog ac anwyl drwy'r byd. Carai yr Iuddew ei wlad oblegid ei chrefydd, ac yr oedd ei wladgarwch yn gymmaint purach a chryfach am mai gwladgarwch crefyddol oedd. Parha yr Iuddew hyd heddyw, ymha gylch bynnag y ceir ef, i ymddyddori yn hên gylch cyssegredig y tadau. Ei uchelgais ydyw gallu trefnu i ddiweddu ei oes yn yr hên wlad, fel y byddo iddo gael ei roddi i huno gyda'r tadau. Mae trefedigaethau Iuddewig yn brysur godi yn y tir. Pan ymwelodd Syr Charles Wilson â Phalestina yn 1862, nid oedd ond ychydig iawn o dai y tu allan i'r muriau yn Jerusalem; ond yn awr y mae y Jerusalem sydd y tu allan i'r muriau lawn mor luosog ei phoblogaeth a'r Jerusalem sydd y tu mewn iddynt, ac Iuddewon gan mwyaf yw trigolion y Jerusalem newydd yma sydd y tu allan i'r hên furiau. Mae'n sicr fod tua hanner trigolion presenol Jerusalem yn Iuddewon, ac y mae rhai lleoedd, megys Safed, yn fwy Iuddewaidd fyth. Peth i synnu atto nid ychydig ydyw hyn; oblegid, er gwaethaf ymdrech i'w cadw allan o'r wlad, y maent yn llwyddo i fyned iddi. Yn ninas Jerusalem cedwir pob awdurdod oddiwrthynt, ond er hyny

meddant ddylanwad mawr ar fywyd y ddinas. Mae masnach y ddinas bron yn hollol wedi d'od i'w dwylaw hwy. Sicrhawyd ni fod holl gerbydau y ddinas yn eu meddiant. Cerbydau! Gwir yw nad oedd cerbydau o fath yn y byd i'w cael yn y wlad rhyw ddeugain mlynedd yn ol. Tystia Miss M. E. Rogers, boneddiges a deithiodd yn helaeth yn y Dwyrain ac sydd wedi ysgrifenu pennod yn y *Picturesque Palestine*—nad oedd cerbyd na berfa, na dim yn rhedeg ar olwyn, i'w ffeindio yn unman yno yn y flwyddyn 1855. Ond erbyn heddyw y mae nifer o gerbydau i'w cael yn y prif drefydd, ac fel y sylwyd yr Iuddew ei hun sydd wedi eu dwyn i mewn i ddinas Jerusalem. Rhaid cydnabod fod amryw bethau, heb son am y prophwydoliaethau Beiblaidd, fel pe yn eglur ddangos mai Iuddewon fydd preswylwyr dyfodol y wlad. Ni oddefa y galluoedd eraill i unrhyw allu Iwropeaidd fyned a'r wlad o afael y Twrc. O bosibl y caniata y galluoedd i'r Iuddew fyned a hi oddiarno, nid trwy rym arfau, ond trwy ddangos amgenach cymhwysder i'w mheddu. Yn y flwyddyn 1885 gwnaed cyfrif manwl o'r Iuddewon oeddynt i'w cael yn y byd, ac yn ol hwnw 6,300,000 oedd eu rhifedi. Erbyn hyn maent yn lluosocach. Ychydig, y driugeinfed ran feallai, o honynt sydd i'w cael yn Ngwlad Canaan ar hyn o bryd, ond ennill y wlad y maent. Gwahaniaetha y genedl Iuddewig oddiwrth bob cenedl yn hyn—yn hytrach na bod corph poblogaeth y genedl i'w gael yn ngwlad y genedl, y mae corph mawr y genedl Iuddewig yn wasgaredig dros y byd mewn gwahanol wledydd ac ynghanol gwahanol genhedloedd. Etto ceir fod y darnau hyn o genedl yn ffurfio cenedl mor bennodol a'r un sydd i'w chael yn y byd. Mae Proff. Hosmer yn ei lyfr ar yr Iuddewon ("The Story of the Nations") yn cyfeirio yn helaeth at nodweddion y genedl hon, ag sydd yn sefyll ar ei phen ei hun fel y mae ei gwlad hefyd yn sefyll ar ei phen ei hun. Dengys fod yr Iuddewon hyny sydd yn d'od fwyaf dan ddylanwad pobl o genhedloedd eraill, ac yn d'od yn ddylanwadau mawr ynglŷn â'r cenhedloedd hyny—yn parhau i lynu wrth draddodiadau ac arferion eu cenedl eu hunain. Gwelir hyn ynglŷn â Moses Mendelssohn, Moses Montefiore, Rothschild, Beaconsfield, &c. Un o'r nodweddion amlycaf yn aelodau y genedl hon ydyw dyddordeb angherddol yn y wlad ag y maent fel cenedl yn alltudiedig o honi er cenedlaethau a chanrifoedd. Y prif beth, os nad yr unig beth, i gyfrif am hyn ydyw cyssylltiadau crefyddol y wlad. Dyma sydd yn ei gwneud yn wrthrych dyddordeb, anwyldeb a pharchedigaeth gan yr Iuddew,

a dyma sydd yn ei gwneud yn enwog drwy'r byd, ac yn ogoniant yr holl diroedd.

Mae'r wlad o bwys mawr i'r Iuddew, i'r Mahometan, ac yn arbenig i'r Cristion, oblegid y goleuni a deifl ar wirioneddolrwydd y Grefydd Ddatguddiedig. Ni bu Renan erioed yn nes i'w le na phan y desgrifiodd Wlad Canaan fel y "Bumed Efengyl" (*The Fifth Gospel*). Mae'n hollol ddealledig mai brasluniau (*sketches*) o fywyd cyffredin y wlad yw y Damhegion prydferth ddefnyddiodd yr Athraw mawr, ac nas gall neb ddeall y cyfeiriadau Beiblaidd fel y gall y rhai sy'n gynnefin ag arferion y wlad neullduol hon. Nid oes wlad ar y ddaear wedi magu personau ag y mae eu henwau mor adnabyddus a'r rhai fagwyd yn y wlad fechan hon; ond fe welir mai cyssylltiadau crefyddol y rhai hyn oll, o Abraham, tad y ffyddloniaid, i lawr hyd Ioan y Difeinydd, hyny, ac nid dim arall, sydd wedi eu gwneud mor fyd-enwog. Nid oes lleoedd mor adnabyddus a'r lleoedd bychain, di-olwg geir yn y wlad hon, ag ydynt o bob lleoedd yn y byd y rhai mwyaf cyssegredig. Rhaid dyweyd am y miliynau pobl sydd wedi ymweled â'r wlad mai nid ymweled yr oeddynt â lleoedd prydferth neu ffrwythlon, ond â lleoedd sanctaidd. Mae'r enwau roddir ar y wlad hon, ac ar leoedd neullduol ynddi, yn enwau a gymhwysir at y Nef ei hun. Y canlyniad yw nad oes wlad fel hon yn bod—ei phrif-ddinas hi yn brif-ddinas y byd, ei hafon hi yn afon enwocaf y ddaear, a'i mynyddoedd hi y mynyddoedd mwyaf anrhydeddus mewn bod. Ac y mae hyn oll yn wir am dani ar gyfrif ei lleoedd sanctaidd, ei lleoedd ag ydynt wedi eu cyssegru gan y wir Grefydd. O barth i'r lleoedd cyssegredig hyn byddwn dan orfod i sylwi fod graddau helaeth o ansicrwydd yn eu cylch. Dyna, erbyn i ni ystyried, sydd yn wir am nifer fawr o leoedd cyssegredig y byd. Feallai yr ymddengys yn syn fod y fath nifer o lanerchi yn bod ar y ddaear ag y mae y Nefoedd wedi eu gwneud yn dragwyddol gyssegredig, ac etto y ddaear ei hun heb fod yn gwybod yn bendant pa rai ydynt. Temtir ni i ofyn, ai fel hyn y mae am mai fel hyn y mynnai y Nefoedd iddi fod? Ond y mae ystyriaeth arall ag y dylem ei chofio, sef ein bod yn ymholi ynghylch lleoedd, a hanes lleoedd ag oeddynt, er engraifft, yn bod ganrifoedd cyn i Loegr a Chymru ymddangos o gwbl mewn hanes. Pa mor bell yn ol y gallwn fyned gyda sicrwydd ynglŷn â'n gwlad ein hunain?

Ond yn ddios y mae Gwlad Canaan ymysg holl wledydd y

byd yn sefyll ar ei phen ei hun mewn enwogrwydd, oblegid y saif ar ei phen ei hun ar gyfrif y cyssegredigrwydd a berthyn iddi—"Paham y llemmwch, chwi fynyddoedd cribog? dyma y mynydd y chwennychodd Duw ei breswylio." Ni buasai'r wlad, wrth gwrs, yn enwog fel y mae oni bae am wirioneddolrwydd y Datguddiad Dwyfol. Dirmygedig a fuasai pe mai ffugiol fuasai'r Efengyl. Ond gan mai gwir ydyw ddarfod i Dduw, mewn modd neillduol, breswylio ar ddaear Palestina, a chymdeithasu wyneb yn wyneb â'r tadau yn Sichem, Bethel, Siloh a Hebron, a bod llwch y tadau yn gorwedd yn ogof Machpelah a lleoedd eraill hyd y dydd hwn; gan mai gwir yw i Dduw ddewis Sïon i fod yn "fynydd ei Sancteiddrwydd," ac yn fan iddo gyfarfod â'i bobl drwy'r holl oesau meithion, a chan mai gwir yw ddarfod iddo yn nghyflawnder yr amser anfon ei Fab, ac i Hwnw ar ddaear Palestina gael ei eni, a'i fagu, gyflawni ei weithredoedd nerthol, a thraddodi gwirioneddau mwy nerthol na hyny, ac yn ben ar yr oll roddi ei hun yn Iawn dros bechod y byd, ac adgyfodi i'n cyflawnhau—yn ngwyneb hyn i gyd, pwy a wäd fod daear Palestina yn eithriadol o gyssegredig, ac o holl leoedd neullduol ac enwog y byd nad oes dim a gystadlant gyda "lleoedd sanctaidd" y wlad fechan hon.

Gellir dyweyd mai dinas Jerusalem, byth er amser Dafydd, ydyw *calon* y wlad—ffynhonell ei bywyd a'i gweithrediadau. Mae cymmaint o hanes yn perthyn i'r ddinas ag sydd i'r gweddill o'r wlad, a chymmaint o gyssegredigrwydd hefyd. Cydmarol fach yw y ddinas, fel hefyd y wlad. Tybia Dr. Henderson a Conder na bu ei thrigolion un adeg dros 30,000, ond barna eraill y gallent fod wedi cyrhaedd dwbl y nifer hwnw. Ond er hyny gellir dyweyd nad oes enwocach dinas yn y byd. Myn rhai ei chydmaru gyda dinas Rhufain, cydmaru y "ddinas sanctaidd" gyda'r "ddinas dragwyddol," y ddinas fechan, seml gyda'r ddinas dlos, fawreddog, a dodi y ddwy ar y blaen i holl ddinasoedd y byd, y naill ar gyfrif yr hanes cyssegredig a berthyn iddi, a'r llall ar gyfrif yr hanes cyffredin *(profane)* a berthyn iddi hithau. Poed felly.

Ardderchog iawn yw *safle* y ddinas. Hawdd, mae'n wir, fyddai derbyn camargraff am dano. Pan ddywedir—"Fel y mae Jerusalem a'r mynyddoedd o'i hamgylch"—nid ydym i feddwl am dani fel dinas mewn pantle gyda mynyddoedd o bob tu iddi. Dinas ydyw ar fryn, yn hytrach ar fryniau; nid ar ddau, fel y dywed Josephus, ac nid ar dri fel y dywed Robinson, ond ar, o

leiaf bedwar, ac fel y cyfryw y mae yn amgylchynedig gan ddyffrynoedd culion a dyfnion. Er hyny priodol y dywedir fod mynyddoedd yn ei hamgylchu, oblegid y tu draw i'r dyffrynoedd sydd o'i chwmpas y mae ucheldir, a hwnw mewn rhai manau yn codi i uchder mwy na'r ddinas. Cyfyd Mynydd yr Olewydd 150 o droedfeddi yn uwch. Hefyd, i un yn sefyll gerllaw y ddinas bydd i Scopus, Neby-Samwil, a lleoedd ereill, ymddangos fel mynyddoedd, y rhai a weithredant megys gwylfeydd a moddion o ddyogelwch i'r ddinas. Ceir fel hyn fod y ddinas o ran ei gosodiad uchel a'i gwahaniad oddiwrth y gweddill o'r wlad yn *ddinas neullduedig* yn naturiol. Dyna'r syniad, feallai, yn y gair hwnw—"Jerusalem a adeiladwyd fel dinas wedi ei chydgyssylltu ynddi ei hun" *(a city that is compact together).* Dinas yw wedi ei chodi i fyny a'i chau iddi ei hun, a'i gwneud trwy hyn yn *compact.*

Nid yn ofer y dywedwyd wrth yr Iuddew am iddo ystyried rhagfuriau y ddinas hon, ac edrych ar ei phalasau. Amlwg ydyw fod y genedl wedi "gosod ei chalon ar" y ddinas, ac yn benderfynol o'i dyrchafu a'i hanrhydeddu. Gwelir hyn oddiwrth y draul anferth yr aethant iddo mewn adeiladu y Deml a'r ddinas, ac oddiwrth y drafferth a'r aberth a wnaent yn barhaus ynglŷn â gwaith y Cyssegr. Nid iaith ryw "solitary Jew" ydyw hyny—"Un peth a ddeisyfais i gan yr Arglwydd, hyny a geisiaf, sef caffael trigo yn nhy yr Arglwydd holl ddyddiau fy mywyd, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd ac i ymofyn yn ei deml." Dyna deimlad y genedl. Prydferth iawn yw eu teimladau dwys hiraethlawn am y Deml a'r ddinas pan yn nhir eu caethiwed (Ps. 137). Ymserchu yn ninas eu teml wna'r Iuddewon yn mhellderoedd y byd, megys y gwnant hefyd pan yn eu gwlad eu hunain. "Ymhyfryded merched Judah"—a merched Judah ydyw trefydd a dinasoedd eraill Judah, y rhai a edrychent i fyny at ddinas Sïon fel eu mham, ac a ymhyfrydent ynddi.

Yn meddiant y Twrc, fel y ceir dangos, y mae'r ddinas ers llawer dydd, a'i melldith hi, mewn llawer ystyr, ydyw hyny. Er cael syniad am yr hyn oedd y ddinas mewn amser a fu rhaid ydyw cloddio islaw'r wyneb presenol; oblegyd, fel canlyniad i'r dinystrio a'r difrodi mynych sydd wedi bod yn ei hanes, y mae ei llawr presenol, mewn llawer man, lawn 30 troedfedd yn uwch na'r hên lawr. A'r anffawd yw na oddefa y Sultan i ymchwiliadau gael eu gwneud, mwy nag y caniata i ddiwygiadau gael eu dwyn i mewn i'r ddinas, oblegid yr ofna i rywbeth ddigwydd a'i ham-

ddifada ef o honi. Modd bynnag, y maent yn ystod y 30 mlynedd diweddaf wedi llwyddo i ffeindio *platform* y graig sydd dan y ddinas mewn cyn gymmaint a 300 o wahanol fanau, ac mewn canlyniad gellir dyweyd eu bod ar hyn o bryd, fel ffrwyth ymdrechion Warren, Conder ac eraill, yn weddol hysbys o'r hyn yw y ddinas o dan y wyneb—y ddinas fel yr oedd. Ond pery y darn sydd o dan faes y Deml yn ddarn dieithr, a gresyn yw na cheir chwilio hwnw.

Wrth barotoi y llyfr hwn ar Jerusalem, ynghydag un arall ar "Leoedd Sanctaidd Palestina a Syria," yr ydym wedi bod mewn gohebiaeth helaeth â'r Milwriad Conder, wedi derbyn amryw lythyrau oddiwrtho yn cynnwys y goleuni diweddaraf sydd ganddo ef ac eraill i'w roddi ar faterion ag y maent wedi rhoddi oes i'w hastudio. Yr ydym, oblegid hyn, yn teimlo yn rhwymedig iawn i'r boneddwr galluog hwn, a bydd i ni yn nghorph y gwaith wneud cyfeiriadau mynych at yr ohebiaeth. Mae'r awduron yr ydym wedi ymgydnabyddu â hwy yn rhy luosog, efallai, i'w henwi, ond wrth fyned ymlaen bydd i gyfeiriadau at rai o honynt gael eu gwneud.

Credwn fod y *map* sydd yn nechreu y llyfr yn un nad oes, o'i faint, ei well yn y wlad; ac y mae y map bychan sydd yn ei gongl yn un gwirioneddol dda. Dewiswyd y mapiau eraill oblegid eu heglurder eithriadol, ac am eu bod ym mhobpeth bron yn cyfatteb i'r darganfyddiadau a'r casgliadau diweddaraf, megys y danghosir hwy yn map mawr Bartholomew a Geo. Adam Smith, ac yn mapiau y "Palestine Exploration Fund," gan Syr C. W. Wilson a chan Conder. Barnwyd mai nid doeth ydoedd Cymreigyddio yr enwau ar y mapiau gan fod y ffurf Gymreig mor debyg i'r un Seisnig, a bod yr enwau mewn amryw ieithoedd ar y mapiau eisoes.

Mae'r darluniau mor gywir ac mor dda a dim allem eu cael. Yn sicr dylid rhoddi terfyn bellach ar yr arferiad o ddwyn allan ddarluniau dychymygol a hollol anghywir o leoedd adnabyddus Gwlad Canaan.

Yn hyn o orchwyl ein hunig amcan ydoedd dwyn o fewn cyrhaedd y Cymro y wybodaeth ddiweddaraf am y darganfyddiadau sydd wedi eu gwneud, a'r golygiadau a goleddir ynghylch gwlad ag sydd mor fawr ei bri yn ngolwg ein cenedl. Rhaid dyweyd y ceir profion mynych mai dibynu y mae deiliaid ein Hysgolion

Sabbothol ac eraill yn ein gwlad, ar wybodaeth a gyfrennid dros chwarter canrif yn ol. Ac eto, fe gydnebydd pawb fod Jerusalem a lleoedd eraill Gwlad Palestina, yn lleoedd o gymmaint pwys fel y dylid cael y wybodaeth gywiraf a manylaf am danynt sydd gyrhaeddadwy. Lluosog iawn yw y llyfrau, yn cynnwys y gyfryw wybodaeth, sydd wedi ymddangos, yn ystod y chwarter canrif diweddaf, yn Lloegr, America a gwledydd eraill. Yn sicr, ni ddylai Cymru fod ymhell ar ol. Dymunol iawn fuasai fod rhywun gyda mwy o fedr at y gwaith, a mwy o amser at ei alwad wedi ymgymmeryd â'r gorchwyl; oblegid nid gorchwyl hawdd, ar amryw ystyriaethau, mo-hono. Modd bynnag, yr ydym wedi gwneud ein goreu, ac er y gall y cwbl fod yn fethiant, bydd yr ymgais dêg a wnaethom wedi profi ei hun yn bleser gwirioneddol ini.

# JERUSALEM.

---

### *Enw y Ddinas a'i Hanes Boreuol.*

Dyma brif-ddinas y byd, oblegid dyma, mewn modd neillduol iawn, "ddinas Duw," "dinas y Brenhin mawr," a "dinas Arglwydd y lluoedd." Yn gyntaf oll, yr ydym i feddwl am dani fel dinas Ganaaneaidd. Camsyniad yw meddwl mai dinas ydyw a ddaeth i fri ac hyd yn nod i fod ynglyn â'r Israel. Yn hytrach, beth amser cyn i dad a sylfaenydd y genedl Iuddewig ymsefydlu yn y wlad, yr oedd Jerusalem yn ddinas fawr a phwysig. Mae enw y ddinas naill ai yn Ganaaneaidd, neu mewn rhan yn Ganaaneaidd (Semitaidd) ac mewn rhan yn Fabilonaidd. Gwir fod rhai Rabbiniaid wedi ceisio gwneud yr enw yn un Iuddewig, a'i darddu o'r ddau air Jireh a Sem; ond hollol ofer y gwnant hyny. Y mae wedi bod yn syniad ers llawer dydd fod a fynno'r enw â Salem neu Salim, sef gair Semitaidd yn golygu heddwch. Esboniad ar yr enw sydd wedi bod yn gyffredin hyd yn ddiweddar yw ei gymmeryd yn yr ystyr o Jebus-Salem, y naill ran o'r enw yn golygu heddwch, a'r llall yn cyfeirio at gyssylltiad y Jebusiaid â'r lle; ond dywedir nad yw yr esboniad yna yn un naturiol, a'i fod oblegid goleuni sydd wedi ei daflu ar y mater yn ddiweddar yn esboniad hollol ammhosibl. Dengys yr ysgrifau Babilonaidd, cynnwys pa rai sydd wedi ei ddadrys yn ddiweddar, mai enw cyntefig y ddinas ydoedd *Uru-Salim*, ac y mae y rhai ystyrir yn awdurdodau ar yr ysgrifau hyn yn deall fod Uru (Uri yn ol Dr. Haupt) yn golygu "dinas" neu "le o amddiffynfa," a Salim yn golygu "heddwch" neu "ddyogelwch." Sylwa Dr. G. Adam Smith, mai nid gair Babilonaidd (hyny yw, yr iaith gynaidd) ydyw Uru, ond gair yn perthyn i hên iaith gyntefig Babilonia, sef y Sumeraidd neu Accadaidd, ac fel hyn, meddai, y mae Urusalim yn air cymmysgryw—y rhan gyntaf o hono yn Sumeraidd a'r ail ran yn Semitaidd. Modd bynnag, yn ol yr hen ysgrifau sydd wedi eu darganfod yn ddiweddar dyma enw'r ddinas. O'r ysgrifau henafol hyn sydd wedi eu gwneud mewn llythyrenau cynaidd, y mae yr hyn a elwir yn ysgrifau y *Tell-el-Amarna,* y rhai a ddarganfyddwyd mewn lle o'r enw hwnw ar lan y Nile yn y flwyddyn 1887. Mae nifer helaeth o'r

ysgrifau hyn ar lechau bychain cleilyd i'w cael yn Berlin, nifer hefyd yn y British Museum, a nifer yn Cairo. Cyfrifir am y darganfyddiad fel hyn—ddarfod i'r brenin Aiphtaidd, Amenhotep IV., symmud ei frenhiniaeth o Thebes i Tell-el-Amarna yn y flwyddyn 1466 C.C. Cymmerodd gydag ef i'r lle diweddaf y cofnodion brenhinol, ac yn eu mysg yr oedd rhai yn cyfeirio at gyfnod mor foreu, a dyweyd y lleiaf, â'r oes Abrahamaidd. Mewn rhai, ceir gohebiaeth rhwng y swyddogion Aiphtaidd yn Mhalestina â'u brenin yn yr Aipht. Mae yn y British Museum gymmaint a 26 wedi eu hanfon at y llywodraeth yn yr Aipht o Balestina, ac y mae yn werth cael golwg arnynt. Yr enw ynddynt, bob amser, ar Jerusalem ydyw Urusalim, a'r enw ar un o'r offeiriadol-frenhinoedd fu yn llywodraethu y ddinas yw Ebedtob.[1] Fel hyn y dywed y brenin hwn, ag oedd hefyd yn offeiriad, am dano ei hun: "Wele, nid fy nhad ac nid fy mam sydd wedi fy nyrchafu i'r lle hwn, eithr oracl y brenin mawr, sydd wedi fy nwyn i dŷ fy nhad." Desgrifia ei ddinas fel "dinas mynydd Urusalim, dinas teml y duw Uras enw yr hwn yno yw Salim." Fel yna y darllena Proff. Sayce yr ysgrifau. Cymmer ef yr enw Urusalim, nid i olygu "dinas-heddwch," fel y gwna llawer, ond cymmer y rhan olaf fel enw ar dduw y ddinas, ac felly dinas (y duw) Salim. Bernir gan lawer mai Ebedtob yr ysgrifau yw Melchisedec y Beibl. Rhyfedd mor fawr y cyffro a'r cyfnewidiad y mae'r ysgrifau hyn wedi ei achosi, ac y mae astudiaeth helaeth o honynt, ochr yn ochr â hên hanes Aiphtaidd a Babilonaidd gan ddynion fel Proff. Sayce, Proff. Hayter Lewes, Brugsch, St. Chad Boscawen, Flinders Petrie, Haupt, Winckler, ac eraill, wedi bod yn wir werthfawr.[2]

[1] Dyma'r enw yn ol Proff. Sayce. Rhydd beirniaid Assyriaidd eraill y ffurfiau Abd-Khiba a Abd-hiba. Y cyntaf o'r ddau yma dderbynir gan Dr. G. Adam Smith.

[2] Ond wedi'r cwbl gofyna Dr. G. Adam Smith, a raid meddwl am ddylanwad Babilonaidd (Sumeraidd) yn rhoddi i'r ddinas ei henw? Yn hytrach nag Urusalim fel ei henw cyntefig, cynnygia ef yr enw Yerusalem. Mae hwn yn enw brodorol, hyny yw, yn enw Canaaneaidd, ac felly yn enw Semitaidd. Mae y rhan olaf o'r enw, wrth gwrs, yn golygu heddwch neu ddyogelwch, ond mae'r ieithwyr diweddar, meddai Smith, yn gwahaniaethu ynghylch ystyr y rhan flaenaf — rhai yn ei ddeall fel yn golygu "meddiant o (heddwch)," ac eraill fel yn golygu "sylfaen (heddwch)." Yn ffafr Yerusalem fel hen enw y ddinas, noda Smith ymhellach mai y ffurf Hebreig yw Ierusalem, y ffurf yn y Deg a Thriugain yw Ierousalem, y ffurf gan y Maccabeaid yw Ierosolyma, y ffurf gan Josephus yw Hierosolyma, yr hon hefyd yw y ffurf Roegaidd (*Hellenist*). Rhydd



From "*Jerusalem the Holy.*" Copyright, 1898, by Fleming H. Revell Company.

Y DDINAS ODDIAR BEN CALFARIA.—t.d. 142.

Y mae cyssylltiad boreuol yn bod rhwng y ddinas â'r Jebusiaid. Gwelir hynny oddiwrth Barn. xix. 10, 11, 1 Chron. xi. 4, 5. Oddiwrth y cyfeiriadau hyn aethpwyd yn naturiol i feddwl am y trigolion yn Jebusiaid a'r ddinas yn Jebus. Ond dengys yr Ysgrythyr hefyd fod Salem a Jerusalem yn enwau llawn mor foreuol ar y ddinas â'r enw Jebus, Barn. i. 7, 21, Jos. xv. 63, 2 Sam. v. 6. Nid rhyfedd felly i rai dybied y caent yn yr enw Jerusalem gyfuniad o'r ddau enw arall ar y ddinas—Jebus a Salem; ond fel y sylwyd, y mae'r esboniad yn un annaturiol, ac yn ol ysgrifau Tell-el-Amarna yn un anghywir.[1]

Cwestiwn dyddorol yw y cwestiwn, Pwy oedd y Jebusiaid fu ar un adeg yn preswylio y ddinas? Oddiwrth Ezec. xvi. 45, cododd tybiaeth mai llwyth newydd oeddynt yn hanedig o'r Hitteaid a'r Amoriaid; ond yn groes i hynny, feallai, y rhaid barnu oddiwrth Num. xiii. 29, lle y sonir am danynt gyda'r Hethiaid a'r Amoriaid fel "gwladychwyr y mynydd-dir." Mae'n ffaith nad oes dim cyf-

Josephus hefyd y ffurf Solyma, a'r ddwy ffurf sydd gan Josephus sydd gan awduron Lladinaidd a Groegaidd yn gyffredin. Yn y Testament Newydd, ceir y ddwy ffurf Ierousalem a Ierosolyma, a chydag ysgrifenwyr Eglwysig drwy'r canrifoedd ceir y pedair ffurf—Hierusalem, Ierusalem, Hierosolyma, a Ierosolyma. Ystyria Smith, mae'n amlwg, fod llenyddiaeth gyffredinol y byd yn ffafrio yr enw ar y ddinas a fabwysiedir ganddo ef. Ond rhaid gofyn, os felly, beth am awdurdod a gwerth yr ysgrifau Tell-el-Amarnaidd?

[1] Tra yn cydnabod fod tystiolaeth yr ysgrifau ynghylch yr enw yn un bwysig, nid ydym yn rhwym o dderbyn casgliadau y beirniaid Assyriaidd o barth i darddiad ac ystyr yr enw *Urusalim.*

Ar ol rhoddi barn y beirniad Semitaidd, Dr. G. Adam Smith, y mae'n dda gennym allu ychwanegu eiddo ysgolhaig Semitaidd enwog iawn, sef Proff. Ethe, M.A., Ph.D., Aberystwyth, yr hwn, fel yr ymddengys, nad yw yn credu fawr yn nghasgliadau y beirniaid Assyriaidd. Fel hyn y dywed Dr. Ethe:—"Yn ol fy marn i, afreidiol hollol yw myned i chwilio am darddiad yr enw Jerusalem (Heb. Yerûshâlem) yn y Babilonaeg. Mae'r gwreidd-air Hebreig Yârah—i sylfaenu, yn rhoddi eglurhad hollol foddhaol ar enw y ddinas, sef *sylfaen heddwch* neu *sylfaen buddiant*, yr un modd ag yn yr enw Jeruel (Heb. Yerûêl, sylfaen Duw). Yn y ffurfiau Massoreaidd hynod Yerûshâlaim a Yerûshalâyim a geir yn yr Hen Dest. nid ydym i gymmeryd *aim* ac *ayim* i ddynodi deuolaeth fel y mae rhai wedi tybied, gan farnu fod dwy ddinas yn cael eu gosod allan, ond yr ydym i'w cymmeryd fel datblygiad diweddarach o *em*, a hynny, feallai, er dyrchafu enw'r ddinas i ffurf mwy urddasol a lluosog, ac yn gyfattebol i Shâmayim—nefoedd (heavens)." Os enw Semitaidd fel hyn sydd ar y ddinas, fel y myn Ethe a Smith, fe erys y cwestiwn a all Uru yr ysgrifau fod yn darddedig o Yerû a Yârâh?

eiriad at y Jebusiaid yn y llythyrau Tell-el-Amarnaidd, ac y mae rhai wedi casglu oddiwrth hyn mai yn ddiweddarach na chyfnod y llythyrau hynny y daethant i breswylio Sïon; nad oeddynt yno adeg gorchfygiad y wlad dan Josua, ond iddynt dd'od rywbryd rhwng hynny ac adeg Dafydd. Tybir hefyd fod hyn yn cael ei gadarnhau gan Jos. x., lle y nodir mai Amoriaid oedd trigolion y ddinas yn adeg Josua. Dadleua Dr. Driver[1] nas gellir casglu dim oddiwrth hyn, gan fod yr enw Amoriaid, fel yr enw Canaaneaid, yn cael ei ddefnyddio fel enw cyffredinol am drigolion y wlad, ac ar awdurdod Petrie dywed nad oedd dim Amoriaid priodol i'w cael, yn ystod cyfnod y llythyrau Tell-el-Amarnaidd, i'r de o Phenicia.

Barn Dr. Driver yw mai y Jebusiaid oedd yn meddiannu Sïon yn amser Josua, ac mai perthyn iddynt hwy yr oedd Adonizedec ac Adonibesec, ond nas gellir dyweyd dim yn bendant am danynt, heblaw eu bod yn llwyth o'r hên Ganaaneaid. Oddiwrth enw a hanes Adonizedec, sef y brenhin oedd yn teyrnasu yn y ddinas adeg Josua, cesglir dau beth: (1) Ei fod yn offeiriad yn ogystal a brenhin; (2) ei fod yn frenhin o bwys, a bod brenhinoedd Hebron, Jarmuth, Lachis ac Eglon yn rhai dibynol arno. Mae pob goleuni a daflwyd yn ddiweddar ar hanes yr hên ddinas yn ei gosod hi allan fel dinas bwysig—yn wladwriaethol a chrefyddol, a hynny nid yn unig ar ddyfodiad yr Israeliaid i'r wlad, ond bum can mlynedd cyn hynny, sef ar ddyfodiad Abram i'r wlad. Nis gellir dyweyd pa cyhyd cyn amser Abram yr oedd hyn yn wir am Jerusalem. Tybia rhai, pe caniattai y Sultan i ymchwiliadau gael eu gwneud yn manau mwyaf henafol a chyssegredig y ddinas, y darganfyddid ysgrifau pwysicach nag hyd yn nod y rhai Tell-el-Amarnaidd, ysgrifau fyddent yn cario hanes y ddinas yn llawer pellach yn ol.

Ar ddyfodiad yr Israeliaid i'r wlad yr oedd yr hyn a elwir yn "wersyllfa Sïon" yn meddiant y Jebusiaid, ac fe'i gwneir yn eglur mai gorchest fawr oedd myned â hi oddiarnynt. Cawn etto sylwi ar y cwestiwn dadleuol ynghylch safle y wersyllfa. Cawn mai boddloni i'r Jebusiaid ddal gafael ynddi a wnaeth yr Israeliaid yn ystod y tymhor maith a adnabyddir fel tymhor y Barnwyr. Yn ystod y tair canrif yna yr oedd dau o lwythau Israel, sef llwyth Judah a llwyth Benjamin, yn cydfyw megys gyda'r Jebusiaid, Jos. xv. 63, a Barn. i. 21, ond ymddengys mai byw yn ddarostyng-

[1] "Jebusiaid" yn Ngeiriadur Hastings.

edig i'r Jebusiaid a wnaent. Y gwir yw, yr oedd yr Israel yn rhy eiddil i feddiannu y ddinas, a than orfod i edrych arni fel "dinas estron," lle nas gallasai Iuddew aros gyda dyogelwch, Barn. xix. 12. Ond ar ol y "diwygiad" mawr ar y genedl gymmerodd le dan Samuel, yr olaf o'r Barnwyr, cawn ynddi, dan arweiniad y brenhin Dafydd, barodrwydd a phenderfyniad i feddiannu Sïon. Daw maint yr ymgymmeriad ac aiddgarwch y genedl ynglŷn âg ef i'r golwg yn y ffaith fod 280,000 o ryfelwyr glewion, medrus mewn ymladd, yn ymuno â Dafydd yn y gwaith. Tybiodd y Jebusiaid y gallent y tro hwn, megys y troion blaenorol, ddiystyru a dirmygu unrhyw ymgais i fyned â'r ddinas oddiarnynt, 2 Sam. v. 6, 1 Chron. xi. 5, 6. Danghosent eu dibrisdod o'r fyddin fawr a arweiniai Dafydd yn erbyn y ddinas trwy eu gwaith yn casglu nifer o ddeillion a chloffion, ac yn gosod y rhai hynny ar y muriau a'r tyrau oedd ganddynt o gwmpas y wersyllfa. Gwaeddai y gwarchodwyr gweiniaid hyn yn hyf a herfeiddiol—"Ni ddaw Dafydd yma"—ni fedr dd'od. Ond gwnaethant gamgymmeriad difrifol, ac hollasant eu gwersyllfa a'u dinas; ac yn ddilynol i'r fuddugoliaeth gafodd yr Israeliaid o dan y cadfridog Joab ar y Jebusiaid, "trigodd Dafydd yn y tŵr," a daeth hên wersyllfa y Jebusiaid i gael ei galw yn ddinas Dafydd, a daeth dinas Jerusalem am y tro cyntaf yn ddinas Iuddewig. Yr oedd hyn tua 1040 C.C., neu dros 400 o flynyddoedd ar ol i'r genedl dd'od i'r wlad.

Feallai mai buddiol yn y fan hon fydd rhoddi RHESTR O'R PRIF DDIGWYDDIADAU ynglŷn â'r ddinas, ac â'r wlad, fel y maent wedi eu casglu o Weithiau Josephus, o'r Talmud, ac oddiwrth hên ysgrifau sydd wedi eu darganfod yn ddiweddar.[1]

C.C. 1921. Ymweliad Abram â'r Aipht (Gen. xii. 10).

1913. Melchisedec fel brenhin offeiriadol Salem (Gen. xiv. 19. Neu, yn ol y llythyrau Tell-el-Amarnaidd, Ebed-tob brenhin Urusalim).

1728. Gwerthiad Joseph (Gen. xxxvii. 26; Talmud).

1715. Joseph yn llywodraethwr o dan y Pharaoh Apepi neu Apophis (Gen. xli. 25).

1706. Mynediad Jacob i'r Aipht.

1604. Cyfodiad brenhin yn yr Aipht "yr hwn ni adnabuasai mo Joseph," sef Amosis, neu Ames, neu Aahmes. Dyma y Pharaoh a ddechreuodd orthrymmu y genedl, Ex. i. 8—11.

[1] Dibynir yn hyn ar Conder, Dr. Russel Forbes, a Dr. Adam Smith.

1574. Gorchymyn boddi y meibion, Genedigaeth Moses, Nefer-ari, merch Rameses II., yn darganfod Moses (Ex. ii.).

1567. Rameses II. yn d'od i'r orsedd (Talmud, ond yn ol ysgrif yn Thebes 1562).

1550. Rameses yn cymmeryd Salem (Ysgrif yn Thebes).

1500 neu 1495. Rameses II. yn marw ar ol teyrnasu 67 o flynyddoedd. Bu Menephthah II., ei fab, am dymhor yn cyd-deyrnasu âg ef.

1496—1491. Yr Exodus o'r Aipht ymhen 430 o flynyddoedd ar ol rhoddiad yr addewid i Abram, neu wedi 210 o flynyddoedd o arhosiad yn yr Aipht. [1] Menephthah II. oedd y Pharaoh foddwyd yn y Môr Coch. Yr oedd ei dad Rameses II., a'i dad yntau Seti I., a'i dad yntau Rameses I., ac Ames wedi bod yn orthrymmwyr creulon ar y genedl (Ex. xii. 40, xiv. 28; Ps. cxxxvi. 15, a'r Talmud). Yr oedd Moses yn 80 mlwydd oed adeg yr Exodus (Ex. vi. 16). Yn y flwyddyn 1881 darganfyddwyd yn nghymmydogaeth Thebes gyrph eneiniedig nifer o frenhinoedd yr Aipht, ac yn eu plith eiddo Seti I. a Rameses II., y rhai sydd i'w gweled yn awr yn Cairo. Yn 1886 dadorchuddiwyd, ym mhresenoldeb y Khedive ac eraill, *mummy* y frenhines Ahmes, priod y cyntaf o'r gorthrymmwyr, a *mummy* Rameses II., y Pharaoh enwog ag y bu Moses yn cael ei fagu yn ei dŷ.

1454. Marwolaeth Moses yn 120 mlwydd oed (Talmud).

1011. Dechreu adeiladu Teml Solomon (1 Bren. vi. 1).

973. Brenhin yr Aipht, sef Shishac, yn ysbeilio Jerusalem (1 Bren. xiv. 25, 2 Chron. xii. 2, ac ysgrif yn Kœrnak yn hysbysu byddugoliaeth Shishong).

701. Senacherib yn gwarchau y ddinas (2 Bren. xix).

587. Nebuchodonosor yn cymmeryd ac yn dinystrio'r ddinas.

536. Y dychweliad o Fabilon o dan Zorobabel.

515. Cyssegriad yr Ail Deml.

445. Nehemiah yn adeiladu muriau y ddinas.

332. Alexander Fawr yn ymweled â Jerusalem.

320. Ptolemy I. (Soter) yn cymmeryd y ddinas.

200. Antiochus III. yn cymmeryd y ddinas.

[1] Y dyddiad rydd Sayce i'r Exodus yw 1325 C.C., a'r Pharaoh oedd Meneptah II. ("Fresh Light from Ancient Monuments.") Oddigerth am 5 mlynedd, cyttuna'r Talmud gyda'r Beibl.

168. Antiochus Epiphanes yn cymmeryd y ddinas, gan ei hysbeilio hi a'r Deml.

165. Judas y Maccabead yn adnewyddu ac yn ail-ddodrefnu y Deml.

153. Jonathan yr Asmonead yn adgyweirio y muriau.

134. Antiochus VII. yn cymmeryd y ddinas.

83. Salome Alexandra mewn awdurdod yn y ddinas.

63. Pompey yn cymmeryd y ddinas a'r Deml.

54. Crassus yn ysbeilio'r lle.

40. Y Parthiaid yn cymmeryd y ddinas.

37. Herod a Sosius yn gwarchau ac yn dinystrio rhan o'r ddinas.

25. Herod yn adeiladu y Drydedd Deml.

O.C. 43. Agrippa yn ychwanegu at y ddinas tua'r gogledd.

65. Florus a Gallus yn dinystrio'r ddinas mewn rhan.

70. Y dinystr o dan Titus—y dinystr mawr.

131. Yr Iuddewon o dan Bar-Cocheba yn ennill y ddinas.

132. Hadrian yn cymmeryd ac yn difrodi y ddinas.

135. Hadrian yn sefydlu y ddinas dan yr enw *Aelia Capitolina.* Hwn fu enw swyddogol y ddinas hyd y 6ed ganrif.

325—335. Cystenyn yn adeiladu amryw eglwysi Cristionogol yn y wlad, ac yn eu plith Eglwys y Bedd Sanctaidd.

363. Julian yn amcanu codi y Bedwaredd Deml.

450. Eudocia yn codi amryw adeiladau, megys Eglwys St. Stephan.

530. Justinian yn adeiladu amryw eglwysi Cristionogol, megys Eglwys St. Mair.

614. Y Persiaid yn meddiannu ac yn ysbeilio y lle.

637. 'Omar yn meddiannu y lle.

842. Ymosodiad gan wrthryfelwyr Mahometanaidd.

937. Dinystriad adeiladau Cristionogol y ddinas a'r cylch.

969 a 1010. Yr Aiphtiaid yn ymosod ac yn meddiannu.

1075. Y Tyrciaid yn meddiannu.

1096. Afdhal yn gwarchau a meddiannu.

1099. Godfrey a'r Crwysgadwyr yn gwarchau ac yn meddiannu.

1187. Saladin yn meddiannu.

1219. Dinystriad y muriau.

1229. Tywysog Kerak yn meddiannu.

1239. Frederick II. yn meddiannu.

1244. Y Caresmiaid yn dinystrio'r lle.

1480. Yr Arabiaid yn ysbeilio'r lle.

1547. Y Tyrciaid yn meddiannu.
1825. Y Tyrciaid yn dinystrio rhannau o'r ddinas.
1831. Yr Aiphtiaid mewn meddiant.
1841. Y Tyrciaid yn adfeddiannu'r lle yn ddyogel ac yn arhosol.

### *Dinystr Jerusalem.*

Cymmerodd hyn le yn y flwyddyn 70 O.C. 'Roedd y ddinas, fel y gwelir, wedi ei dinystrio, yn llwyr neu yn rhannol, amryw weithiau yn flaenorol, ond dyma'r adeg y bu y dinystr mawr, dinystr na bu ei waeth yn hanes unrhyw ddinas erioed. Am rai blynyddoedd cyn yr alanastra yr oedd yr Iuddewon wedi bod yn llawn anfoddlonrwydd a gwrthryfelgarwch yn erbyn y llywodraeth Rufeinig. Ar ol i Gesius Florus a Cestius Gallus fod yn ceisio darostwng y gwrthryfel, ymddiriedwyd y gwaith i Vespasian. Bu ef am flynyddoedd yn darostwng y wlad cyn dod at y brif-ddinas, a phan ddaeth yr adeg i ymosod arni hi ymddiriedwyd y gwaith i Titus trwy i Vespasian y pryd hynny gael ei wneyd yn Ymherawdwr. Cymmerodd 143 o ddyddiau i'r cadlywydd Titus gyda'i fyddin fawr i gwblhau y dinystr. Daeth y fyddin ymlaen a gwersyllodd ar fynydd Scopus, gerllaw y ddinas, ar y 14eg o fis Abib, sef ar ddydd y Pasc. Gwelir felly i'r Rhufeiniaid ddewis adeg y byddai poblogaeth y ddinas ddengwaith a rhagor yn fwy na'i phoblogaeth arferol[1] fel adeg i warchau arni ac i'w dinystrio—ac felly i ddinystrio cenedl gyfan âg un ddyrnod. Os cyssylltir y "dinystr" gyda'r "Croeshoeliad"—ceir mai adeg y Pasc y digwyddodd y ddau—dyma'r adeg y dymunodd y genedl i "waed yr Iesu ddisgyn ar eu penau hwy a'u plant," a'r adeg hefyd y daeth hynny i ben yn llythyrenol. Cyn fod gwyl y Pasc drosodd, sef erbyn y 23ain o Abib yr oedd y gwarchae ar y ddinas yn ffaith ddifrifol. 'Roedd y dydd hwnnw yn cyfatteb i'r 9fed o Ebrill gyda ni, a pharhaodd y gwarchae hyd y 4ydd o Fedi. Desgrifia Josephus, yn ei waith ar Ryfeloedd Iuddewig, hanes y cwbl fel y cymmerasant le o ddydd i ddydd. Ar y dechreu cawn fod yr Iuddewon fwy nag unwaith yn llwyddo i gario'r dydd ar yr ymosodwyr, ond fel yr elai y gwarchae ymlaen delent hwythau yn fwy a mwy diymadferth i wrthsefyll. Cynllun neillduol a fabwysiadwyd gan y Rhufeiniaid er cymmeryd meddiant o

[1] Ymddengys y rhaid meddwl am dorf o 600,000 yn gauedig y tu mewn i'r muriau. Dyna'r nifer rydd Tacitus (Hist. v. 3). Credir fod y nifer rydd Josephus, sef dros filiwn, yn ormodiaeth.

wahanol rannau y ddinas ydoedd codi cloddiau yn erbyn y muriau a'r tyrau, a cheir y byddent am ddyddiau, weithiau am wythnosau, yn gwneud y cloddiau hyn fel ag i fod yn gyd-wastad â'r muriau. Ni pheidiwyd a chyflwyno yr offrwm beunyddiol yn y Deml hyd y 84 dydd. Erbyn y 104 dydd yr oedd peiriannau *(engines)* y Rhufeiniaid yn ymosod ar y Deml ei hun, a'r diwrnod nesaf yr oedd y lle sanctaidd ar dân, a bryn y Deml gyda'i holl adeiladau wedi ei lwyr ddarostwng. Yn ystod y mis dilynol buwyd, gyda chynlluniau cyffelyb, yn cymmeryd y ddinas a safai ar Sïon ac Acre, ac erbyn y 134 dydd yr oedd yr holl ddinas, oddigerth yr hyn a ysbeiliwyd, yn un goelcerth dinystriol. Yn ystod y pedair wythnos a'r bymtheg hyn bu'r dioddefiadau trwy newyn, syched, haint a chreulonderau ffiaidd yr ysbeilwyr a'r ymosodwyr yn bethau mor ddychrynllyd fel mai nid doeth yw ceisio eu desgrifio. Ar ddechreu yr ymosodiad yr oedd byddin o Idumeaid wedi ei dwyn i'r ddinas i'w hamddiffyn, ond yn hytrach na hynny ysbeilio'r lle a chodi terfysg oddifewn i'r ddinas warchäedig a wnaeth y milwyr hanner-barbaraidd hyn: nid rhwystro'r dinystr, ond helpu i'w ddwyn oddiamgylch. Cymmerwyd y rhai oedd yn fyw ar y diwedd yn garcharorion. Bu i lawer o honynt gael eu cymmeryd gan Titus i Cesarea Philippi, ac yno, fel y ceir dangòs etto, gael eu rhoddi i farwolaeth mewn modd annynol a chywilyddus. Bu i lawer eraill gael eu cymmeryd i Rufain i'w defnyddio yn gaethweision. Mae yn Rhufain *fwa byddugoliaeth* (arch) hên ac enwog iawn, yr hwn a godwyd er anrhydedd Titus, ac a elwir yn Fwa Titus.[1] Ar hwn portreiedir y carcharorion a'r yspail o Jerusalem yn cyrhaedd dinas Rhufain. Ymysg yr yspail bortreiedir y mae llestri y Deml—y canhwyllbren aur, bwrdd y bara gosod a'r udgyrn (nid oedd yr arch mwyach ar gael). Dywedir na bydd i Iuddew fyned o dan y bwa hwn yn Rhufain o gwbl, eithr êl heibio iddo gan boeri mewn dirmyg tuag atto.

Tystir fod dinystr Jerusalem yn beth mor llwyr fel y llawn wiriwyd geiriau'r Iesu—"ni adewir yma garreg ar garreg," ac hefyd y proffwydoliaethau yn Mic. iii. 12 a Jer. xxvi. 18; oblegid dywed Josephus[2] i'r ddinas "gael ei dinystrio i'r llawr mor llwyr fel y buwyd yn "aredig" arni, ac fel yr oedd yn anhawdd i'r rhai a'i gwelent i gredu fod neb wedi bod yn byw yno o gwbl." Hanes llestri y Deml, yn ol Dr. Forbes, yw hyn—iddynt gael eu dwyn i

[1] Desgrifiad llawn yn "Rambles in Rome" gan Dr. Russell Forbes

[2] Rhyf. vii. 1.

Rufain yn 70 O.C. (Josephus Rhyf. viii. 5), eu cymmeryd i Garthage gan Genseric yn 455 (Procopius, v. 1, ac Evagrius, iv. 17), eu cymmeryd i Gaercystenyn gan Belisarius yn 535, a'u cymmeryd yn ol i Jerusalem gan Justinian. Ond yn 614 cymmerwyd hwy oddiyno drachefn i Persia gan Kosroes II. (Eutychius, v. 2); a beth, tybed, yw eu hanes ar ol hynny?

***Y ddinas yn sefyll ar fynyddau.***

*Dinas fynyddig* yw Jerusalem. Mwy, nid oes dim i'w gael ar y mynydd ond y ddinas. Mae'r un mynydd hwn drachefn wedi ei wneud i fyny o amryw fryniau, trwy fod y dyffrynoedd rhyngddynt wedi eu llenwi i fyny. Lleolir hwy gan Josephus fel hyn:—Y mae'r uchaf ar y de-orllewin, sef yr un a adnabyddir yn gyffredin fel *Sïon;* mae'r nesaf atto, sef *Acre* y Groegiaid, Milo yr Ysgrythyr, ar y gogledd-orllewin; yna ar yr ochr ddwyreiniol ceir *Bezetha* yn y gogledd, *Moriah* yn y canol, ac *Ophel* yn y de. Ychwanegir dau o'r bryniau cylchynol at y pump hyn gan rai ysgrifenwyr, ac felly gwnant allan fod y ddinas sanctaidd, fel "y ddinas dragywyddol," yn sefyll ar saith o fryniau.

## SION.

Seion, neu Sïon, neu Zion. Ceir y tair ffurf amryw weithiau yn yr Ysgrythyr. Mae graddau helaeth o ddyryswch wedi ei achosi trwy nad yw yr enw (Seion, Sïon, neu Zion) yn dynodi bob amser yr un peth. Yn Llyfr y Maccabeaid defnyddir ef am fryn y Deml. Weithiau golyga yr un peth a Dinas Dafydd, ond nid bob amser. Nid gwir ychwaith yw fod Sïon a Jerusalem yn gyfystyr. "Yr wyf yn argyhoeddedig," meddai Dr. Henderson, "nad oes ystyron unffurf ag mae'n bosibl eu rhoddi i Sïon, Jerusalem a Dinas Dafydd." Mewn llythyr ger ein bron oddiwrth Conder dywedir:—"Ystyriaf nad yw Sïon yn enw i'w gymhwyso yn fanwl at unrhyw ddarn arbennig o'r ddinas; eithr yn enw cyffredinol a barddonol yn cael ei gymhwyso at yr holl ddinas ac at wahanol rannau o honi." Mae *Dinas Dafydd* yn derm sydd yn cael ei ddefnyddio yn aml am y rhan o'r ddinas feddiannwyd ganddo ef oddiar y Jebusiaid, ond nis gellir cyfyngu y term at hynny gan y ceir mai yr ystyr a gyflea yn aml hefyd yw y ddinas oll fel yr oedd yn amser Dafydd. Mae priodoldeb mawr mewn galw dinas Jerusalem yn ddinas Dafydd—efe a'i meddiannodd hi

i'r genedl, 1 Chron. xi. 4—7, 2 Sam. v. 7—9, cyd. Barn. xix. 11; efe a'i gwnaeth hi yn brif ddinas ac yn ddinas frenhinol y genedl, 2 Sam. v.; efe a'i gwnaeth hi yn gyrchfan crefyddol y genedl, 2 Sam. vi. 12—17: 1 Chron. xv. 1—29; 2 Sam. xxiv. 18—25, 1 Chron. xxi. 18—26; ac yn y ddinas hon y treuliodd y rhan bennaf o'i oes, ac yma y claddwyd ef, 1 Bren. ii. 10.

Yn awr y mae gennym i ymholi ynghylch y ddinas a feddiannwyd gan Dafydd oddiar y Jebusiaid—beth oedd ei safle, a beth oedd ei mhaint? Mae'n draddodiad yn yr Eglwys er's adeg boreu—cydnebydd Dr. Driver ei fod felly er y 4edd ganrif, mai ar y bryn mwyaf deheuol ar yr ochr orllewinol i'r ddinas y safai gwersyllfa a dinas y Jebusiaid, yr hon, yn adeg Dafydd, ac yn ddilynol i hynny, a elwid yn ddinas Dafydd ac yn Sïon. Mae'r Eglwys yn y gorphenol wedi arfer, a hynny yn hollol ddibetrus, gwahaniaethu rhwng y ddau fryn—Sïon a Moriah—trwy ddyweyd fod y bryn cyntaf ar ochr orllewinol y ddinas, a'r olaf ar yr ochr ddwyreiniol, gyda dyffryn Tyropean neu ddyffryn y masnachwyr caws yn gwahanu rhyngddynt. Golygid mai bryn y ddinas oedd Sïon, ac mai bryn y Deml oedd Moriah, fod y cyntaf yn cael ei nodweddu gan gadernid, ac mai arno yr oedd y palas brenhinol, a bod yr ail yn hynod oblegid y cynnwysa y fangre fwyaf cyssegredig ar wyneb yr holl ddaear. Yn gydmarol ddiweddar daeth y Parch. W. F. Birch ymlaen gan ddadleu mai ar yr un bryn a'r Deml yr oedd dinas Dafydd hefyd. Dadleuai y gwr yma dros leoli dinas Dafydd i'r de oddiwrth y Deml ar y rhan ddeheuol o'r bryn neu'r bryniau dwyreiniol, sef ar y trwyn o fryn a elwir Ophel, sydd yn rhedeg oddiwrth Moriah tua'r Cedron. Erbyn hyn y mae'n ddadl bwysig pa un ai ar y bryn gorllewinol ynte ar yr un dwyreiniol y safai dinas Dafydd a hên ddinas y Jebusiaid. Mae nifer helaeth o ddysgedigion, a'r rhai hyn yn gwneud astudiaeth neullduol o fatterion Dwyreiniol wedi syrthio i mewn â golygiad Mr. Birch. Bydd enwi nifer o honynt yn nodi safle y rhai sy'n mabwysiadu y golygiad. Cynnwysant ymysg eraill Stade, Robertson Smith, Sayce, Guthe, Geo. Adam Smith, J. F. Stenning, Ryle, Driver, Bliss, a Benzinger (Hilprecht). Beth sydd dros y golygiad newydd yma, ac yn erbyn y golygiad traddodiadol? (a) Dywedir y buasai Ophel yn fryn naturiol i rai ei ddewis fel safle amddiffynfa ragorol, fod pen y bryn yn gûl a gwastad, a'r ochrau yn rhedeg yn wir serth i'r dyffrynoedd o'i gwmpas—i'r Tyropean ar y gorllewin, ac i'r Cedron ar y dwyrain; i'r de drachefn y mae Gihon, a chymmerir Gihon gan rai i olygu

y dyffryn a ffurfir trwy gyfarfyddiad y Tyropean a'r Cedron, a chymmerir ef gan eraill i olygu yr unig ffynnon neu darddell dwfr sydd i'w chael yn yr holl gymmydogaeth. Yr enw cyffredin ar hon yw Ffynnon y Forwyn, neu Ffynnon Mair. (b) Mae'r tebygrwydd mwyaf y buasai'r hên ddinas yn cael ei gosod mewn lle agos a chyfleus i ffynnon Gihon, neu y ffynnon yma yn Gihon, ac y buasai amddiffynfeydd y ddinas yn cynnwys amddiffynfa i'r ffynnon. (c) Ystyrir fod amryw gyfeiriadau Beiblaidd yn ffafrio y golygiad, fod Neh. iii. 25, 1 Chron. ix. 18, 2 Bren. xi. 19, yn profi fod y Deml a'r palasdy brenhinol *yn agos i'w gilydd*, ac yn neullduol fod Ezec. xliii. 7, 8 yn dangos fod y palasdy brenhinol a'r adeiladau eraill *mor gyssylltiedig â'r Deml*, fel nas gellir meddwl am danynt ar ddau fryn gwahanol; golygir fod y desgrifiad geir yn 1 Bren. viii. 1—4, a 2 Chron. v. 2—5, o ddygiad yr arch o'r fan yn y ddinas lle y gosodwyd hi gan Dafydd i'w chartref newydd yn y Deml adeiladwyd gan Solomon yn bendant anghefnogol i'r hên olygiad fod y ddinas ar y bryn gorllewinol, a hynny oblegid nas gellid son am fyned "i fyny" pan yn myned o fryn uwch i fryn is. Peth arall, cymmerir fod y golygiad yn cael ei gefnogi gan y cyfeiriadau mynych iawn sydd yn bod at Sïon fel "mynydd sanctaidd," Psalm. ii. 6, a "mynydd y sancteiddrwydd," Joel ii, 1; fel man preswylfod Duw, lle y datguddia ei Hun, a lle y gofyna am gael ei addoli a'i wasanaethu, Psalm. ix. 11, xiv. 7, xxii. 2, liii. 6, lxxiv. 2, lxxvi. 2, cxxxii. 13, cxxxiv. 3; Esaiah viii. 18, lx. 14; Jer. viii. 19, xxxi. 6; Joel ii. 1, 15, iii. 17, 21; Amos i. 2. Ac oblegid yr holl gyfeiriadau hyn hefyd y mae Sïon neu fynydd Sïon i'w gael yn y Test. Newydd yn enw ar y Nefoedd, Heb. xii. 18, 22, Dat. xiv. 1, ac yn Llenyddiaeth yr Eglwys yn enw ar yr Eglwys ei hunan. (d) Sonia Josephus am hên ddinas y Jebusiaid fel "y ddinas isaf," ac ystyrir fod hyn yn cyfeirio at adeg pryd y ceid yn Jerusalem, heblaw yr hên ddinas ar y bryn dwyreiniol, ddinas arall ddiweddarach wedi codi ar y bryn sydd uwch nag ef, sef y bryn gorllewinol (Sïon), a'r ddinas honno yn cael ei galw "y ddinas uchaf." (e) Mae'n deilwng o sylw hefyd fod y Rabbiniaid Iuddewig am ganrifoedd lawer yn dysgu yr hyn hefyd a ddysgir yn llyfr y Maccabeaid, mai mynydd Sïon oedd mynydd y Deml.

Oddiwrth yr holl bethau a nodwyd bernir ei fod yn hynod anhebygol mai mynydd Sïon yw y bryn uchel sydd i'r gorllewin oddiwrth fryn y Deml, ac yn cael ei wahanu oddiwrth y diweddaf gan ddyffryn y Tyropean. Eithr bernir fod Sïon, hynny yw, dinas Dafydd—hynny yw, hên ddinas y Jebusiaid ar yr un ochr

i ddinas Jerusalem a bryn y Deml; mai gwahanol rannau o'r un bryn yw Sïon a Moriah, fod y rhan fwyaf gogleddol, lletaf ac uchaf o'r bryn yn myned dan yr enw Moriah, a'r rhan fwyaf deheuol, sef y rhan sy'n cülhau ac yn disgyn tua dyffryn y Gihon, neu y Cedron, yn myned dan yr enw Sïon. Byddem yn ol hyn yn rhwym o feddwl am y Deml yn sefyll ar dir uwch ar y bryn na'r ddinas, ac felly hefyd yr oedd; oblegid codwyd y Deml ar safle hên lawr-dyrnu yn perthyn i un o'r dinaswyr, a rhaid yw meddwl am lawr-dyrnu yn sefyll y tu allan i'r ddinas, ac ar y lle uchaf ac amlycaf oedd i'w gael. Yn ol y golygiad diweddar yma rhaid meddwl am Moriah yn uwch na Sïon, a bryn y Deml (Moriah) yn fwy na bryn y ddinas a'r amddiffynfa (Ophel). Ond hyd y gwelwn gwrthodir yr hên olygiad a mabwysiedir yr un newydd yn bennaf peth oblegid y byddai "Ffynnon y Forwyn" yn fwy cyfleus i'r ddinas pe ar Ophel nag a fyddai iddi pe ar un o'r bryniau eraill ag sy'n uwch, yn eangach a chadarnach. Mae pwys mawr hefyd wedi ei osod ar yr hyn ddysgid mewn ysgrif o eiddo Robertson Smith yn yr *Encyc. Brit.* ynglŷn â chladdfa'r brenhinoedd. Daliai ef fod Ezec. xliii. 7—9 yn dangos y rhaid edrych am gladdfa Dafydd a'r brenhinoedd eraill ar y bryn dwyreiniol. Ond mae'n rhaid cydnabod fod geiriau y prophwyd yn hynod ammwys, ac nad ydynt, fel y danghosir etto, yn penderfynu y cwestiwn ynghylch claddfa Dafydd. Ni a roddwn ddifyniad o lythyr Conder, gan y cynhwysa attebiad i'r dadleuon ddygir ymlaen gan Robertson Smith:—"Nid wyf, o gwbl, yn ammheu i rai o frenhinoedd Judah gael eu claddu yn nyffryn y Tyropean, gerllaw Siloam, ac ar y gogledd i'r llyn hwnnw. Dilys yw fod y palas brenhinol godwyd gan Solomon yn sefyll ar Ophel, ac y mae'n eithaf tebygol mai 'gardd y brenhin'[1] ag oedd wrth y palas, ac yn agos i Siloam, ydoedd yr hyn a elwir yn 'Ardd Uzza," lle y claddwyd nifer o frenhinoedd diweddaraf Judah yn agos i'w palas, neu fel y dywedir, 'yngardd eu ty eu hunain.' Dyma, felly, fangre yr hyn a ddaeth yn ddiweddarach i gael ei adnabod fel beddau (*sepulchres*) Dafydd, hynny yw, beddau ei dŷ ef."[2]

[1] 2 Bren. xxi. 18 a 26.

[2] Y cyfleithiad Cymraeg yn Neh. iii. 15, 16, yw, Beddrod Dafydd. Mae'r cyfleithiad yn anghywir, a thra mae yn ammheus iawn ddarfod i Dafydd gael ei gladdu yn y Tyropean, mae'n sicr i amryw o frenhinoedd ei dŷ gael eu claddu yno.

Ond beth am yr hên draddodiad ynghylch Sion a Moriah? A yw y golygiad hwn wedi ei roddi i fyny yn ffafr yr un fabwysiedir gan y beirniaid enwyd eisoes? Nag ydyw, eithr y mae darganfyddiadau a thystiolaethau y tir-fesurwyr (*surveyors*) gennym i'w gosod gyferbyn â chasgliadau y beirniaid. Mae amryw, feallai y mwyafrif o'r dosbarth yna sydd wedi bod yn Jerusalem, yn mesur ac yn cloddio ac yn gwneud pob math o ymchwiliadau dichonadwy, yn cyd-olygu â'u gilydd fod y traddodiad ynghylch Sion a Moriah yn un cywir. Mae'n anhawdd meddwl am ddim mor argyhoeddiadol a'r ymchwiliadau gofalus wnaed yn Jerusalem gan Syr C. W. Wilson yn 1864, gan Syr Charles Warren yn 1867—1870, a chan Conder a'i gwmni yn ddiweddarach na hynny. Ffeindiwyd allan beth yw gorweddiad y creigiau dros yr holl ddinas, a beth oedd gwyneb y tir mewn amser a fu o'i gydmaru â'r hyn yw yn awr. Mae'n ffaith anwadadwy mai yr uchaf o'r bryniau yw yr un ar y de-orllewin, sef yr un y mae traddodiad wedi ei adnabod fel Sïon. Mae hwn lawn gàn troedfedd yn uwch na'r man uchaf ar Moriah. Mae hwn hefyd, fel Moriah, yn amgylchynedig gan ddyffrynoedd. Dywedir fod Ophel yn fryn pwrpasol at fod yn amddiffynfa. Gwir hynny, ond ni buasai neb yn debyg o ddewis Ophel tra yr oedd gwell amddiffynfa yn bosibl, a hynny wrth ei ymyl. Oddiar safbwynt milwrol ynfydrwydd fuasai dewis Ophel fel amddiffynfa, a gadael Sïon i'r gelyn. Mae maintioli Ophel etto yn ei wneud yn hynod anhebygol fod Dinas Dafydd i'w chael ar y bryn hwnnw. Ni a ddodwn yr hyn ddywed Conder mewn llythyr dyddiedig y 23 o Mehefin, 1903—"Ystyriaf y golygiad fod dinas Dafydd ar y bryn dwyreiniol, neu Ophel, yn un hollol ammhosibl, nid oes yr un tir-fesurydd o fri a ddywed hynny, oddigerth Syr C. W. Wilson,[1] ac ymddengys nad yw y rhai sydd yn dal y golygiad yma yn sylweddoli yr anhawsder. Ni chynhwysa Ophel ond rhyw ddeg erw, ac etto cawn fod y ddinas yn amser y Gwaredwr yn gorchuddio 200 o erwau. Dywed Josephus yn blaen fod muriau "y ddinas uchaf," sef yr un ar y bryn de-orllewinol (fel y cydnabyddir yn gyffredin) wedi eu hadeiladu gan Dafydd a Solomon. Credaf y gwyddai ef yn well na Robertson Smith. Pe ceisiai un fesur y "mil cufyddau," a'r "pedwar càn cufyddau" y mae son am danynt yn Neh. iii. 13, a 2 Chron. xxv. 23, fe welai

[1] Mae Syr Charles Wilson wedi bod yn coleddu y ddau olygiad. Yn ei erthygl ar Sïon yn "Hastings," gwahaniaetha oddiwrth Conder.

pa mor ammhosibl fyddai. Pe buasai Sayce wedi gwneud ei fap yn ol mesur (*scale*) fe welsai wrthuni yr ymgais i geisio gosod dinas Dafydd ar Ophel."

Y brif ddadl dros farnu mai ar Ophel yr oedd y ddinas yw yr hyn ddysgir yn 2 Chron xxxii. 30. Cyhyd, modd bynag, ag y mae ansicrwydd yn bod ynghylch safle "y dyfroedd Gihon" y sonir am danynt, nis gellir seilio dadl yn y fan hon.[1] Ond caniattaer mae "y Gihon" yw yr hyn a elwir yn "Ffynnon y Forwyn," yr hon sydd yn Nyffryn Cedron, a beth fyddai y canlyniad? Os byddai raid ini feddwl am y ffrwd yn cael ei chludo oddiyno at du gorllewinol dinas Dafydd, yna byddai raid ini ffeindio dinas Dafydd ar Ophel. Ond y mae darlleniad arall yn cael ei gymmeradwyo gan Keil ac eraill, a hwnnw, meddai yr Hebrëwr enwog Dr. Davidson wrth Conder, yw y darlleniad iawn, sef fod y dyfroedd yn cael eu cludo "yn orllewinol tua dinas Dafydd,"[2] ac yn ol y darlleniad yna byddai raid ini feddwl am y ddinas ar y bryn gorllewinol, sef ar y Sïon traddodiadol. Gwir y byddai pellder y Sïon yma oddiwrth Ffynnon y Forwyn yn ddadl yn ei erbyn; ar yr un pryd, nid peth dieithr yw cael ffynhonnau yn y wlad bellder oddiwrth y dinasoedd,[3] ac y mae pob lle i gredu fod y llyn a elwir wrth yr amrywiol enwau o *Hammam-el Batrak*, *Llyn y Patriarch*, *Llyn Hezeciah*, ac yn ol Josephus *Amygdalon*, yn bod o'r adeg y mae gennym hanes gyntaf am y ddinas, a bod dwfr yn cael ei gludo i'r llyn o ddwyrain a gorllewin. Y llyn yma, o ganlyniad, a wasanaethai, yn bennaf, i ddibenion y Jebusiaid. Mwy pwysig oedd sicrhau i'r ddinas y safle fwyaf amddiffynol na sicrhau iddi y safle agosaf at y ffynnon yn nyffryn Cedron. Gwahaniaetha Josephus, fel y sylwyd, rhwng "y ddinas uchaf" a'r "ddinas isaf." Gwneir yn hollol amlwg mai y Sïon traddodiadol oedd y ddinas uchaf, ond pa le 'roedd yr isaf? Mae rhai wedi tybied mai ar Ophel yr oedd honno, a dygant Neh. iii. 26, ymlaen i ddangos fod trigolion i'w cael ar Ophel; ond y mae Josephus yn ogystal a 2 Sam. v. 6—9, a 1 Chron. xi. 4—7, yn

[1] Felly y dywed Dr. Henderson yn ei "Palestine."

[2] Dyna hefyd ddarlleniad Dr. Adam Smith o'r frawddeg.

[3] Er mai y rheol gyffredin ydoedd codi trefi gerllaw ffynhonnau, y mae aml i le wedi ei ffeindio oedd yn sefyll bellder oddiwrth y ffynnon. Digwyddai hyn pan gymmerid pethau eraill i ystyriaeth heblaw cyfleusdra dwfr. Dyma oedd wir am Siloh.

dangos fod y ddinas isaf ar yr un bryn a'r uchaf.[1] Safai felly i'r gogledd o Sïon ar yr hyn a elwir gan y Groegiaid yn Acre; ac yn ol Josephus hefyd cawn mai yr un yw hynny a'r "Milo yn ninas Dafydd" ag y soniai yr Ysgrythyr am dano (2 Chron. xxxii. 5). Yn awr yn gymmaint a bod Acre yn ogystal a Sïon yn uwch na Moriah, yr oedd y ddinas uchaf a'r ddinas isaf yn uwch na'r Deml. Ond pan y sonir am fyned "i fynu" o'r ddinas i'r Deml ni ddylid anghofio y byddai myned o Sïon ac Acre yn golygu myned "i fynu" yn ogystal ag "i lawr," gan y byddai yn rhaid croesi y dyffryn er gwneyd hynny (1 Bren. viii. 1).

Mae tystiolaeth Josephus mewn undeb â dysgeidiaeth yr Ysgrythyr fel hyn yn ei wneud yn lled eglur mai ar y bryniau gorllewinol y safai y ddwy ddinas, ac mai yr uchaf o honynt oedd prif wersyllfa y Jebusiaid. Peth arall, y mae amryw gyfeiriadau yn ei wneud yn eithaf eglur mai nid yn ninas Dafydd y codwyd y Deml, ond mewn man hollol wahanol. Dywedir yn 2 Sam. vi. 12, i Dafydd ddwyn "i fyny arch Duw o dŷ Obed-Edom i ddinas Dafydd," ac yn 1 Bren. viii. 1, a 2 Chron. iii. 1, v. 2, cawn hanes am yr arch yn cael ei symmud "o ddinas Dafydd" i'r Deml ar fynydd Moriah. Oddiwrth hyn etto fe ymddengys fod dinas Dafydd a'r Deml ar ddau fynydd gwahanol.

Dylem ychwanegu peth arall ag y mae o'r pwys mwyaf i ni sylwi arno. Ymddengys mai o ddiffyg sylwi ar hynny, yn un peth, y mae rhai wedi myned i fabwysiadu'r golygiad fod dinas Dafydd ar yr un bryn a'r Deml, a'r peth hwnnw yw fod palasdy Solomon ynghyda'r brenhinoedd dilynol yn bod nid yn ninas Dafydd, hynny yw, nid yn y ddinas ar y bryniau gorllewinol, ond i bob ymddanghosiad ar Ophel, ac felly ar yr un bryn a'r Deml. Wrth gyfeirio at briodas Solomon â merch Pharaoh dywedir:—"Ac a'i dug hi i ddinas Dafydd nes darfod iddo adeiladu ei dŷ ei hun a thŷ

[1] Nid yn amser Josephus yn unig yr oedd Jerusalem yn ddwy ddinas. Yr oedd felly yn amser y Barnwyr ac yn amser Dafydd. Cyn y gorchfygiad dan Dafydd preswyliai rhai o'r genedl yn y ddinas, ac etto yr oedd rhan o'r ddinas nas gallent ei chymmeryd oddiar y Jebusiaid. Mae'r hanes yn dangos mai yr amddiffynfa a elwir yn Acre gymmerwyd gan Dafydd ei hunan, a dylid sylwi fod yr enw Acre yn golygu amddiffynfa, a bod yr enw Sïon drachefn yn cael ei gymhwyso at y rhan honno o'r ddinas (Geir. Dr. Easton). Ar ol i Dafydd feddiannu yr amddiffynfa yna, a'r rhan yna o'r ddinas, cymmerwyd meddiant o'r rhan arall, ag oedd yn uwch ac yn gadarnach amddiffynfa, gan y Cadfridog Joab, ac wedi meddiannu yr holl ddinas y mae Dafydd yn gwneyd ei gartref ynddi

yr Arglwydd, a mûr Jerusalem oddiamgylch," 1 Bren. iii. 1. Cadarnheir yr un peth ymhellach gan 1 Bren. ix. 24 a 2 Chron. viii. 11. Gwelir, felly, nad oedd y palasdy brenhinol gododd Solomon yn sefyll yn ninas Dafydd, a gwelir hefyd fod y palasdy hwnnw a thŷ yr Arglwydd yn sefyll gyda'u gilydd. Nodwyd eisoes yr adnodau ddygir ymlaen er profi fod y Deml a dinas Dafydd ar yr un bryn, sef Neh. iii. 25, 1 Chron. ix. 18, 2 Bren. xi. 19, a Ezec. xliii. 7, 8. Ond gellir dyweyd mai nid profi hynny y maent, eithr profi fod y Deml a'r palasdy brenhinol ar yr un bryn. Yn 1 Bren. vi., vii., rhoddir desgrifiad manwl o waith Solomon yn adeiladu tŷ i'r Arglwydd, palasdy iddo ei hun ac adeiladau eraill, a naturiol yw i ni edrych ar yr hyn ddygwyd ymlaen yn ystod yr 20 mlynedd hynny fel un gwaith mawr ac ardderchog, fel tŵr o adeiladau nad oedd eu tebyg i'w cael ar wyneb daear. Sylwa Conder fod maintioli yr adeiladau gododd Solomon ar Ophel yn gyfryw fel nad oedd prin le i ddim arall ar y bryn.[1] Islaw yr adeiladau hyn yn nghyfeiriad y dyffryn yr oedd y gerddi, y llynoedd a'r gladdfa. Hollol naturiol, ar ol codi'r adeiladau brenhinol ar Ophel, yw fod gennym hanes, o dro i dro, am Ophel yn cael ei gadarnhau. Gwnaed hynny gan y brenhinoedd canlynol; —Jotham, 2 Chron. xxvii. 3, a Manasseh, 2 Chron. xxxiii. 14: hefyd gan Uzziah a Hezeciah. Erbyn amser Herod Fawr yr oedd y palasdy brenhinol ar Ophel yn adfeiliedig, a'r adeg honno credir i bob olion o hono gael eu clirio ymaith, a hynny, yn un peth, er sicrhau lle i helaethu terfynau y Deml. Cododd Herod balasdy ardderchog ar y bryn gorllewinol. Gwelwyd felly o leiaf dri phalasdy brenhinol yn Jerusalem,—eiddo Dafydd ar Sïon, sef yn hên ddinas y Jebusiaid, eiddo Solomon a'i ddilynwyr ar Ophel, ac eiddo Herod ar Sïon. Yr ydym eisoes wedi enwi y rhai sy'n gwrthod y golygiad traddodiadol ynghylch Sïon a Moriah, ac er enwoced yw y rhai hynny nid ydym yn petruso dyweyd fod y golygiad traddodiadol yn ymddangos lawn mor debyg o fod yn iawn; ac yr ydym yn awr yn ychwanegu enwau y rhai sydd, ar

[1] Y ddwy ddadl a ddygir ymlaen gyda nerth argyhoeddiadol gan Conder dros ddal at y golygiad traddodiadol a lleoli Dinas Dafydd a hên amddiffynfa y Jebusiaid ar y bryniau gorllewinol, ydynt:—(1) Nad oedd ar Ophel ddigon o le i'r ddinas, bu yn rhaid ei eangu er ei wneud yn ddigon i ddal y palasdai brenhinol adeiladodd Solomon. (2) Na buasai neb yn dewis Ophel yn amddiffynfa tra yr oedd bryn uwch a chadarnach wrth ei ochr, ac o fewn ergyd saeth oddiwrtho. Ystyria Conder fod Dr. Robinson yn fwy o awdurdod ar y matter hwn na Dr. Adam Smith a'i gyffelyb.

ol ymchwiliadau ac astudiaeth helaeth iawn o'r matter, yn barnu ac yn dadleu mai y golygiad traddodiadol yw yr un cywir, ond gyda chydnabod hyn o wahaniaeth—er fod y ddinas—dinas Dafydd a hên ddinas y Jebusiaid, ar y bryniau gorllewinol, fod y palasdy brenhinol am y cyfnod rhwng amser Solomon ac amser Herod ar yr un bryn a'r Deml. Ymysg y cyfryw enwaf Robinson o'r America, a Conder; hefyd Williams, Deon Stanley, Dr. Macphail a Dr. Henderson, gwr ag sydd, fel y'n hysbysir, oblegid y sylw helaeth y mae wedi ei roddi i gwestiynau ynghylch Palestina, yn gymmaint o awdurdod arnynt a neb yn y wlad.[1] Mae dau awdurdod ar y matter wedi datgan eu barn yn bur ddiweddar, sef George Gatt o Gaza, yn ei lyfr ar "*Sïon in Jerusalem*," a Dr. Carl Mommert o Silesia. Cyhoeddodd y ddau hyn ffrwyth eu hymchwiliadau a'u hastudiaeth yn y flwyddyn 1900, ac y mae'r ddau yn dadleu dros y golygiad traddodiadol. Os daliwn at y golygiad traddodiadol, dyma'n casgliadau—(1) Mai ar Moriah yr oedd y Deml. (2) Fod hên amddiffynfa y Jebusiaid—Sïon, Dinas Dafydd, ar y bryn (bryniau) gorllewinol, ac mai yno y cododd Dafydd ei balas. (3) Ddarfod i Solomon godi ei balasdai brenhinol ar Ophel, ac mai yno yr oedd y palas brenhinol hyd nes y codwyd y palas Asmoneaidd a'r palas Herodaidd ar ol hwnnw mewn rhannau eraill o'r ddinas. Da gennym, pan yr oedd ein gwaith yn y wasg, ydoedd cael cyfle i astudio llyfr newydd (1903) Proff. Hilprecht.[2] Siomedig iawn ydym ynddo, o leiaf yn y rhan sydd ynddo ar Jerusalem wedi ei ysgrifenu gan Dr. Benzinger. El dros yr anhawsderau mewn modd arwynebol, a derbynia y golygiad newydd gwrth-draddodiadol, tra y mae y rhan fwyaf o'r ffeithiau nodir ganddo yn ffafrio y golygiad traddodiadol. Dywed fod y Sïon traddodiadol 108 o droedfeddi yn uwch na'r fan uchaf ar Moriah. Dywed fod pen Moriah, sef canol yr Haram presennol, yn meddu gwastadedd pwrpasol iawn i adeiladu arno, a hwnnw yn mesur 330 troedfedd wrth o 130 i 165 troedfedd; ond yn ychwanegol at hynyna, nad oes gwastadedd o nemawr faintioli i'w gael ar y bryniau dwyreiniol heb iddo gael ei wneud, a hynny yn ngwyneb anhawsderau. ("Everywhere else on the east-hill, even in the most favourable case, gigantic substructures would have been necessary, in order to provide only a small surface.

[1] Gallem ychwanegu enwau amryw eraill sydd o'r un farn.

[2] "Explorations in Bible Lands during the 19th Century," dan olygiaeth Proff. H. V. Hilprecht (T. & T. Clark, 1903), tud. 599—602.



PORTH DAMASCUS—"A ddioddefodd y tu allan i'r porth."—t.d. 40.



LLE'R WYLOFAIN.—"Wylwch o'ch plegid eich hunain."—t.d. 78.

Of such, on a large scale, we cannot think.") Cydnebydd y rhaid meddwl am balas Solomon yn sefyll ar Ophel gûl, ac am y ddinas, hên ddinas y Jebusiaid a dinas Dafydd neu Sïon, yn sefyll yn îs na hynny i lawr y ddisgynfa yn nghyfeiriad Gihon. Yn ben ar y cwbl, dywed yntau fod agosrwydd Ffynnon Mair at y safle yma yn penderfynu'r ddadl: ond a yw felly? Er fod gennym ein syniad ar y cwestiwn dadleuol hwn, barnwn mai doeth yw gadael y cwestiwn yn ben-agored, gan ein bod wedi cyflwyno y ddwy ochr i sylw y darllenwyr, a hynny mor dêg a chyflawn ag y gallem.

***Maintioli'r ddinas.***

Ni bu Jerusalem ar unrhyw adeg yn ddinas fawr. Yn adeg ei gogoniant yr oedd Dinas Babilon yn gorchuddio cymmaint a 72,160 o erwau, ond ymddengys na bu i Jerusalem erioed orchuddio rhagor na 250 o erwau. Dywed Nehemiah fod y ddinas yn "eang a mawr" yn ei amser ef (vii. 2), ac etto 200 o erwau ydoedd.[1] Camgymmeriad mawr, yn ddiau, yw tybied i'r trigolion fod yn rhifo 200,000. Mae'n ammheus a fuont ar unrhyw adeg yn rhifo dros 60,000, ac os cynnydda y ddinas fel y mae'n gwneud ar hyn o bryd, bydd cyn nemawr o amser yn fwy nag y bu erioed. Mesura'r muriau sydd yno yn awr ddwy filldir a thri-chwarter, a chynhwysant o'u mewn boblogaeth o tua 30,000. Yn ychwanegol at hyn y mae bellach boblogaeth fawr y tu allan i'r muriau; ac er mai peth cydmarol ddiweddar ydyw cael rhai yn byw y tu allan i'r muriau, fe gredir nad ydynt heddyw yn rhifo llawer llai na'r rhai sydd y tu mewn.

Cawn etto sylwi ar drigolion presennol y ddinas.

***Muriau'r Ddinas.***

Anhawdd, meddai Josephus, ydoedd cymmeryd y ddinas oblegid cryfder y muriau a chadernid y lle. Teimlir fod muriau Jerusalem yn wrthrychau teilwng o astudiaeth ar gyfrif yr hanes helaeth a dyddorol a berthyn iddynt. Mae sôn am "amddiffynfa" y Jebusiaid yn golygu fod ganddynt hwy ryw gymmaint o furiau ar Sion. Gan nad pa un ai ar y bryn uchel ar y gorllewin ynte ar y bryn cul ac isel ar y dwyrain y safai Sion, cawn ei fod, oddigerth ar y gogledd, yn amgylchynedig gan ddyffrynoedd dyfnion gyda dis-

[1] Sut y gall neb ddyweyd fod yr hên ddinas oll ar Ophel, bryn nas gallai fod yn mesur mwy na deg o erwau?

gyniad serth i lawr iddynt. Ar y gogledd, fel y gellid disgwyl, yr oeddis wedi gwneud y mûr gadarnaf. Yn unol â hyn ni a gawn ddarfod i Dafydd, ar ol iddo ef yn gyntaf oll gymmeryd meddiant o Acre, roddi cyfle i'w filwyr i ddangos eu gwrhydri mewn dringo i fewn i "dŵr" neu wersyllfa Sion.[1] Y tebyg yw i Dafydd ychwanegu at y muriau, fel yr hysbysir gan Josephus, pan gymmerodd feddiant o Sion. Tystir i Solomon godi yr hyn a elwir yn "fûr Jerusalem."[2] Hwn yw yr un a adnabyddir fel *y mûr cyntaf*, yr hwn felly a adeiladwyd tua 1000 o flynyddau C.C. Desgrifir ef gan Josephus[3] fel yn cychwyn oddiwrth dŵr *Hippicus* (yr hwn sydd yn agos i borth Joppa), ac yn rhedeg rhwng Sion ac Acre, ac ar draws y Tyropean, gan ymgyssylltu â mûr gorllewinol y Deml. Rhedai drachefn oddiwrth Hippicus tua'r de, gydag ochr dyffryn Hinnom.[4] Yn y flwyddyn 1875, a thrachefn yn 1894—6 darganfyddwyd sylfeini tyrau, y rhai a ffurfient ongl dde-orllewinol y mûr hwn. Ffeindiodd Dr. Bliss[5] a Dr. Guthe fod y mûr yn rhedeg oddiyno i'r dwyrain, ac, fel y tystiant hwy, yn amlwg yn cau Llyn Siloam,[6] oddifewn i'r ddinas, ac yna yn rhedeg ymlaen gyda llethrau Ophel nes ymgyssylltu â chongl ddeddwyreiniol mûr y Deml, lle y darganfyddwyd ef gan Syr Charles Warren.

Yn awr deuwn at yr hyn a elwir yn *Ail Fûr Jerusalem*. Cychwynwyd hwn tua 713 C.C. gan Hezeciah, a chwblhawyd ef gan

[1] 1 Chron. xi. Os ar Ophel yr oedd Sion fel y'n dysgir gan Adam Smith ac eraill, yna beth allasai y fan ennillwyd gyntaf gan Dafydd fod? Gwelir fod Dr. Adam Smith yn yr *Expositor* (Mai, 1903) yn ceisio cyfarfod yr anhawsder hwn. Teimla ei hun o dan orfod i newid yr holl ddesgrifiad o waith Dafydd yn cymmeryd y ddinas megys y rhoddir ef yn 1 Chron. xi. 4—6 ac yn 2 Sam. v. 6—10. Nid yw y darlleniad Awdurdodedig na'r un Diwygiedig yn dderbyniol ganddo. Derbynia eiddo Budde, er nad yw hwnnw yn foddhaol ganddo, a newidir yr adnod darawiadol honno, 2 Sam. v. 8, i ddarllen yn fygythiad, fel y canlyn—"Pwy bynnag a laddo Jebusiad a ddŷg ei wâr ei hun i berygl, y cloffion a'r deillion nid ydynt gâs gan enaid Dafydd." Ond nid yw Smith yn dyweyd beth sydd i'w wneud gyda'r frawddeg yn 1 Chron. xi. 6, lle y sonir am Joab yn derbyn yr hèr i ddringo i fyny'r gwtter.

[2] 1Bren. ix. 15.

[3] Rhyf. v. 4.

[4] Gwel y map bychan ar y dechreu.

[5] Darganfyddiad pwysig iawn (meddir yn Hilprecht, 603) oedd eiddo Bliss ar ran yr *English Pal. Ex. Fund* yn 1897.

[6] Dywedir fod y mûr sydd yn cau i mewn Lyn Siloam yn un a wnaed gan Eudocïa yn 450 O.C., a dengys Cronicl y Rhyfeloedd Iuddewig (Josephus) nad oedd Llyn Siloam (o leiaf nad oedd un o honynt) y tu mewn i'r muriau

Manasseh. Diben yr ail fûr yma ydoedd dwyn Acre i fod o fewn y muriau. Dywed Josephus[1] fod hwn yn cychwyn wrth *Borth Gennath*, yr hwn oedd gerllaw yr hyn a elwir yn Dŵr Dafydd, ac yn rhedeg ar gylch (kukloumenon) nes cyrhaedd Antonia. Mae rhediad y mûr hwn yn fatter o bwys, fel y ceir sylwi ynglŷn âg Eglwys y Bedd Sanctaidd a Chalfaria. Tua 445 C.C. cawn Nehemiah yn ail-adeiladu y muriau, a chredir ei fod yn gwneud hynny ar sylfeini y muriau godwyd gan Dafydd, Solomon, Hezeciah a Manasseh. Ar ol hyn cawn ddarfod i amryw o'r Maccabeaid adgyweirio y muriau, a darfod i John Hyrcanus yn 125 C.C. adeiladu *Castell Baris*, i'r gogledd o'r Deml, yr hwn gastell yn 37 O.C. a ail-adeiladwyd, o dan yr enw newydd o *Antonia*, gan Herod Fawr. Y muriau fel yr ail-adeiladwyd hwy gan Nehemiah, ac fel yr adgyweiriwyd hwy gan eraill ar ei ol, oedd y rhai a geid yn amser yr Arglwydd Iesu.

Yn olaf deuwn at yr hyn a elwir yn *Drydydd Mûr Jerusalem*, yr hwn a godwyd gan Agrippa yn 43 O.C. Estynai y trydydd mûr yma ymhell i'r gogledd—lawn pellach nag y mae'r mûr presennol yn ymestyn. Ond ni bu hwn yn hir heb gael ei ddinystrio gyda'r ddinas yn 70 O.C.

Yn ddilynol i ddinystr Jerusalem ceir hanes am y rhai canlynol â llaw mewn adeiladu'r muriau:—Hadrian tua 136 O.C., yr Ymherodres Eudocia, y Mahometaniaid, y Crwysgadwyr, ac yn ddiweddaf oll Suleiman y Gwych, yr hwn tua 1542 O.C. a adeiladodd y muriau sydd yno yn bresennol.

### *Y Pyrth a'r Tyrau.*

Yr oedd y rhai hyn ar bob adeg yn lluosog iawn. Yn wir, dywed Josephus fod 60 o dyrau yn hên fûr y ddinas, 40 yn yr ail a 90 yn y trydydd. Mae hanes helaeth am danynt i'w gael gan Josephus[2]

yn 70 O.C., oblegid derbyniai y Rhufeiniaid eu dwfr o'r llyn hwnnw. Yr unig gwestiwn sy'n ammheus ynglŷn â mûr cyntaf Jerusalem yw y fan arbenig y mae yn croesi Dyffryn y Tyropean. Ar ol i Solomon adeiladu ei fûr cawn i Jotham, tua 750 C.C., ac i Manasseh wedi hynny, gadarnhau mûr Ophel (2 Chron. xxvii. 3, a xxxiii. 14, lle y dywedir fod y mûr a amgylchai Ophel "y tu allan i ddinas Dafydd." Felly nid ar Ophel yr oedd dinas Dafydd). Trwy hyn cawn fod, nid yn unig maes y Deml, eithr hefyd Sion ac Ophel ynghyda'r dyffryn sydd rhyngddynt yn gauedig oll o fewn muriau cadarn.

[1] Rhyf. v. 4.

[2] Rhyf. v. 4, 3.

a chan y Rhufeiniaid, ond nid oes desgrifiad rhagorach na'r un gan Nehemiah. Byw iawn yw ei ddesgrifiad ef o'r muriau adfeiliedig cyn iddo ef eu hail-godi.

Dyma rai o'r pyrth a'r tyrau oedd yn y muriau, yn ol fel yr ydym ni wedi eu gwneud hwy allan:—

Y Pyrth gogleddol.—*Porth y Defaid* (Neh. xii. 39), *Porth y Pysgod* (2 Chron. xxxiii. 14, Neh. iii. 3), trwy yr hwn y cludid pysgod i'r ddinas o Tyrus, *Yr Hen Borth*.

Y Tyrau gogleddol.—*Tŵr Hananeel* a *Thŵr Meah* (Neh. xii. 39).

Y Pyrth gorllewinol.—*Porth Ephraim*, *Porth y Dom*, a *Phorth y Glynn* (Neh. ii. 13), oll yn arwain i ddyffryn Hinnom.

Y Tyrau gorllewinol.—*Tŵr y Ffyrnau* (Neh. vii. 11), *Tŵr Hippicus* a'r *Mûr Llydan*.

Y Pyrth deheuol.—*Porth y Gongl* yn y gongl dde-orllewinol (2 Chron. xxv. 23), *Porth y Ffynnon* gerllaw pysgod-lyn Siloah, a *Phorth y Dwfr* ar gyfer Ophel, ac yn arwain i Ffynnon y Forwyn (Neh. iii. 15, 26).

Y Tyrau deheuol.—Ar y de ceid nifer o dyrau cryfion, ac y mae sylfeini rhai o honynt wedi eu darganfod yn ystod y pum mlynedd diweddaf.

Y Pyrth dwyreiniol.—*Porth y Meirch* (2 Bren. xi. 16) a *Phorth Miphcad* (Neh. iii. 31)—y ddau ar Ophel; *Porth Benjamin* (Jer. xx. 2) a *Phorth y Wyliadwriaeth* (Neh. xii. 39)—y ddau ar Moriah. Yn y gongl ogledd-ddwyreiniol i'r Deml yr oedd *Porth y Defaid*, a'r tebyg yw fod hwnnw neu ryw un arall yn cyfatteb i'r *Porth Euraidd* presennol ag y cawn etto sylwi arno.

Y Tŵr dwyreiniol.—Ceir fod tŵr mawr yn agos i *Gyntedd y Carchar* (Neh. ii. 25, 26) ac i Borth y Wyliadwriaeth.

Y pedwar prif porth yn awr ydynt—*Porth Stephan* ar y dwyrain yn arwain i Fynydd yr Olewydd, Jericho, &c.; *Porth Damascus* ar y gogledd yn arwain i Samaria, Galilea a Syria; *Porth Joppa* ar y gorllewin yn arwain i Bethlehem, Hebron, Joppa a'r Môr Mawr; a *Phorth Sion* ar y dde yn cyssylltu y ddau Sion sydd i'w cael ar hyn o bryd, sef y Sion tu mewn i'r muriau a'r Sion tuallan iddynt. Mae pedwar porth eraill yn bod yn y muriau ond yn gauedig, sef Porth Herod, Porth y Dom, y Porth Euraidd, a phorth heb enw neullduol arno. Porth Joppa yn ddiau yw y porth pwysicaf yn awr. Arweinia y ffyrdd oddiwrth hwn i wahanol gyfeiriadau, a hwn yw y porth sydd yn arwain i Orsaf y Rheilffordd. Yr hên arferiad mewn gwledydd Dwyreiniol ydoedd cau pyrth y dinasoedd gyda machlud haul. Gwneid hyn er dyogelu y trigolion. Sonir am "faesdrefi," ac wrth y rhai hynny yr ydys i ddeall naill ai trefi heb furiau, neu trefi y tuallan i'r muriau. Yn Esaiah nodir allan ddyogelwch a dedwyddwch yr Eglwys drwy

ddyweyd y "byddai ei phyrth yn agored yn wastad, ac na chauid hwy na dydd na nos."[1] Yn gydmarol ddiweddar daeth yn arferiad i wneud drws bychan y tu mewn i'r porth mawr, fel ag i dderbyn i'r ddinas y cyfryw rai a ddigwyddent geisio mynediad ar ol machlud haul; ac y mae wedi bod yn syniad mai cyfeirio at fynediad camel trwy y drws bach yna a wnai'r Iesu yn Mat. xix. 24; ond syrth y golygiad yna i'r llawr os gwir, fel y dywedir, yw nad oedd yr arferiad o gael y drws bach yn bod mor gynnar ag amser yr Iesu. Er's rhai blynyddoedd bellach nid yw pyrth Jerusalem yn cael eu cau, a'r oll a ofynir oddiwrth deithiwr yw ei fod, ar ol machlud haul, yn cario llusern pa mor ddi-oleu bynnag y bo honno, a pha mor oleu neu dywyll bynnag fyddo'r nos. Porth dyddorol iawn yw Porth Stephan, oblegid hwn yw yr un a arweinia i ddyffryn Cedron a'r Olewydd. Yn y 14eg ganrif y daeth y porth hwn i gael ei alw ar ol Stephan. Yn flaenorol i hynny enw ydoedd Porth Stephan ar y Porth Damascus presennol. Daeth y porth dwyreiniol i gael ei alw yn Borth Stephan oblegid y traddodiad mai ychydig y tu allan iddo y cafodd Stephan ei ferthyru. Ond y mae'n gwestiwn a yw y traddodiad yna yn iawn. Yn wir, y mae yn fwy tebygol mai y tu allan i Borth Damascus ar y gogledd y cymmerodd hynny le, ac felly mai camgymmeriad oedd y cyfnewidiad a wnaed ynglŷn âg enwau y pyrth hyn yn y 14eg ganrif.

Rhaid cofio fod y Jerusalem oedd yn bod yn amser Crist yn wahanol iawn i'r hyn a fuasai yn flaenorol. Yr oedd llawer iawn o ddelw y Maccabeaid a'r Rhufeiniaid ar y Jerusalem a welodd Ef. Yr oedd palas yr Asmoneaid yno yn sefyll gydag ochr orllewinol y Deml, gerllaw y bont fawr a groesai'r dyffryn. Yn agos hefyd i'r bont yna, ar y gorllewin i'r Deml, yr oedd *Xystus*, sef chwareufan a gardd (1 Mac. i. 14), ynghyda chwareudy mawr arall ychydig yn fwy i'r de. Rhaid cofio ddarfod i Herod Fawr farw pan oedd yr Iesu yn blentyn, ac hefyd ddarfod iddo yn ystod ei deyrnasiad maith fod yn adeiladydd ar raddfa helaeth iawn. Heblaw adeiladu'r Deml a'i gwneud yn llawer mwy na'r rhai blaenorol, ail-adeiladodd Bont y Tyropean, ac adeiladodd balasdy anferth iddo ei hun, ac ynglŷn â hynny cododd dyrau mawr yr Hippicus a'r Phasælus, a gwnaeth i'r adeiladau ar Sion gystadlu mewn mawredd gyda'r rhai ar Moriah.

[1] Es. lx. 11.

## Y DEML.

Hynodrwydd pennaf y ddinas hon yw mai hi yw dinas y Deml, "dinas y Brenhin mawr." Golyga y gair Lladin *Templum* ddarn wedi ei dorri ymaith a'i neullduo. Cyflea y gair teml y syniad o "neullduaeth"—o "gyssegredigaeth." Mae wedi bod yn syniad lled gyffredin nad oedd dim ond y Deml i'w gael ar fynydd Moriah, ac felly yr oedd hefyd; ond y mae'n bur debygol fod adeiladau i'w cael ar y rhan ddeheuol o'r bryn, sef ar Ophel. Fel y danghoswyd eisoes, beth bynnag sydd ym mhlaid y golygiad fod dinas Dafydd ar Ophel, y mae lawn cymmaint, a dyweyd y lleiaf, ym mhlaid mai y palasdai gododd Solomon oedd yno. Gwir, fodd bynnag, yw i'r rhan uchaf a'r rhan helaethaf o'r bryn dwyreiniol, sef Moriah, gael ei adael yn neullduedig fel mangre y Deml, fel "mynydd tŷ yr Arglwydd." Pâr yr hanes i ni feddwl am Dafydd yn codi palas iddo'i hun yn ninas Dafydd. Yr oedd ganddo, feallai, amryw balasdai (1 Chron. xv. 1), oblegid cawn fod ei blant yn byw mewn tai gwahanol iddo ef, ac nid yw yn ammhosibl fod un o'r tai brenhinol hyn ar Ophel, lle y cododd Solomon y palas mawr brenhinol. Yn fuan wedi ei sefydliad yn y ddinas aeth y brenhin Dafydd i drefnu gwell cartref i arch yr Arglwydd nag oedd ganddi. Ar ol adferiad yr arch o ddwylaw y Philistiaid bu am yspaid ynghadw yn nhŷ Abinadab yn Gibeah (Ciriath-jearim). Dibennodd y cais cyntaf wnaeth Dafydd at ei symmud mewn dychryn a dyryswch — oblegid ymddygiad rhyfygus Uzzah — fel y gadawyd yr arch ar y ffordd am dri mis yn nhŷ Obed-Edom y Gethiad, 2 Sam. vi. Yn ddiweddarach dygwyd hi o'r lle diweddaf yma yn llwyddiannus a chlodforus, a gosodwyd hi mewn pabell oedd wedi ei pharottoi iddi yn ninas Dafydd, 2 Sam. vi. 12, 1 Chron. xv. 1. Mae'n eglur mai mewn "lle" neullduol ar fynydd Sion y cafodd yr arch ei chartref cyntaf yn Jerusalem. Ni ddylai felly fod yn sŷn mai mynydd Sion sydd yn cael ei nodi gan y Psalmydd fel mangre y presennoldeb Dwyfol, ac fel cynnullfan ei bobl. Felly yr oedd yn amser Dafydd. Wedi i Sion yn y fath fodd gael ei wisgo â'r cymeriad hwn, parhaodd i'w wisgo hyd yn nod wedi i'r Deml gael ei chodi ar Moriah; a Sion yw y ffugr o hyd er gosod allan Eglwys Dduw.

Gwnaed parottoadau helaeth at godi y Deml ar Moriah yn amser Dafydd, a phrydferth iawn yw yr awyddfryd oedd yn Dafydd ryfelwr i'w chodi. Danghosodd Duw iddo trwy angel ym

mha le yr oedd i gael ei chodi. Lle y gorchymynodd Duw i'r angel dinystriol roddi ei gleddyf yn ei wain, gorchymynodd hefyd i Dafydd yn yr un lle i offrymmu, sef ar lawr-dyrnu Ornan y Jebusiad, 2 Sam. xxiv. 16—dyma flaenffrwyth yr offrymmu mawr fu ar yr hên lawr-dyrnu. Wedi i Dafydd ddeall mai hwn oedd y safle ordeiniedig, yr ydym yn ei gael yn sicrhau meddiant o hono. Ar ol iddo orchfygu y Jebusiaid gallasai hawlio meddiant o'r lle. Mae Ornan yn wir yn cynnyg iddo y llawr-dyrnu yn rhodd, a chyda hynny yn cynnyg iddo ychain fel ebyrth parod i'w hoffrymmu ar yr allor, ond ni fynnai Dafydd dderbyn y rhoddion. Dewisodd yn hytrach dalu llawn werth am danynt, canys meddai, "nid offrymmaf boeth-offrwm yn rhad." Yn ol yr hanes yn 2 Sam. xxiv. 18—25 rhoddodd ddeg a deugain o siclau arian am y tir, sef tua £9 meddai Conder; ond yn ol 1 Chron. xxii. rhoddodd am y llawr-dyrnu, neu yn hytrach, feallai, am yr holl fryn, y swm o "chwe chan sicl wrth bwys," ac hyd y deallwn yr oedd hynny yn golygu y swm anrhydeddus o £1200, ac yn hyn o beth cafodd y fraint o bwrcasu y dernyn mwyaf cyssegredig o dir ar wyneb daear (1 Chron. xxi. 25). Gyda gwneud hyn y mae Dafydd yn casglu ynghyd mewn aur ac arian werth mil o filiynau o bunnau, a'r fath swm o bres a haiarn a choed fel nas gellid dyweyd eu pwysau, ac y mae'n cyflwyno yr oll drosodd i'w fab Solomon at adeiladu tŷ i Dduw. Priodol iawn y dywediad pert fod Dafydd wedi dangos fod adeiladu tŷ i Dduw yn gymmaint peth ar ei galon fel mai hawdd yw credu y bydd adeiladu y tŷ yn beth fydd yn sefyll yn nghyfrif Dafydd ddydd a ddaw.

## TEML SOLOMON.

Ychwanegodd Solomon yn helaeth at y defnyddiau dderbyniodd gan Dafydd, ac o dan gyfarwyddyd Dwyfol ymgymmerodd â'r gwaith. Yn y Deml ceid y meini goreu ellid eu cael—rhai o honynt dros 20 troedfedd o hŷd. Credir fod rhai o honynt yn rhwym o fod yn awr ym maes y Deml ac ôl dwylaw medrus y crefftwyr Pheniciaidd arnynt. Oddi mewn yr oedd y Deml yn un arddanghosiad o'r aur puraf a'r perlau godidocaf heb gymmaint a modfedd o ddim israddol i hynny i'w ganfod yn unman. Cydmarol fechan oedd teml Solomon, ond yr oedd yn ddigymmar trwy'r byd mewn gwychder. Ceid ar y pryd demlau mwy mawreddog yn yr Aipht a Babilon, ond safai y deml fach ar ben

Moriah yn anrhaethol uwchlaw pob teml a phob adeilad trwy'r byd mewn gwychder a gwerth. Mae'n rhaid i ni feddwl am y bobl hyn yn rhoddi i'r Arglwydd y tŷ goreu allasent ei roddi iddo, a bod hwnnw wedi costio mwy, o bosibl, na holl addoldai ein gwlad ni gyda'u gilydd. Cyflwynwyd i Solomon gynllun o'r Deml, ac nid oedd hwn ond yr un cynllun ar raddfa eangach a'r cynllun o dabernacl roddwyd i Moses ar y Mynydd. Rhoddir manylion am wneuthuriad y Deml yn 1 Bren. vi. a 2 Chron. iii. Teimlir anhawsder i benderfynu ar ei *maintioli*, a hynny oblegid yr ansicrwydd sydd yn bod ynghylch maint y cufydd neu'r *amah* Hebreig. Pa faint ydoedd o'i gydmaru â'r cufydd Aiphtaidd, Babilonaidd, Groegaidd a Rhufeinig? Dywed Maimonides yr Iuddew fod cufydd y Deml yn cynnwys yr hŷd a wneir gan 48 o haidd neu farlys, a dywedir y byddai hynny yn 16 modfedd. Haera eraill fod y cufydd i'w fesur ar y fraich, ond nid oes sicrwydd drachefn pa un ai o'r penelin hyd at y garddwrn, ynte o'r penelin hyd at flaen y bŷs. Mae'r cufydd rywle o'r 15 i'r 22 modfedd—dyna'r oll y gellir bod yn sicr am dano. Mae'r ansicrwydd hwn ynghylch maintioli y cufydd wedi peri llawer o ddyryswch. Mae'r neb sydd wedi astudio yr hanes am y Deml yn rhwym o fod wedi sylwi ar anghyssonderau amlwg cydrhwng y gwahanol awduron, a hynny yn bod oblegid nas gellir dyweyd yn fanwl beth oedd maintioli y cufydd. Ond pe dywedid fod cufydd yn 21 modfedd, fel y dywedir weithiau, neu yn 16 modfedd fel y dywed Conder ac eraill, fe welir mai adeilad cydmarol fach oedd y Deml ar y goreu. Peth arall yw yr anhawsder i wybod i ba raddau yr ydym i ddibynu ar Josephus yn ei fanylion am Deml Solomon ag oedd wedi ei dinystrio 700 mlynedd cyn ei ddydd ef. Darllener, er hynny, yn fanwl yn 1 Bren. vi. 1—10 a 2 Chron. iii., a cheir syniad lled dda am yr adeilad hwnnw. Mae'r hyn ddywedir yn y ddau hanes yn gysson oddigerth wrth ddesgrifio *maintioli y porth*. A oedd y porth mor uchel ag y dywedir yn 2 Chron.—yn ddwbl yr hyn oedd hŷd yr adeilad, ac yn chwe gwaith ei lêd? Mae'n eithaf tebygol ei fod, oblegid y mae sicrwydd fod porth a gwyneb Teml Herod yn llawer uwch a mwy na'r rhannau eraill o'r adeilad. Felly yr oedd yn ol desgrifiadau Josephus. Ac y mae'r cynlluniau (*models*) o demlau Solomon a Herod, sydd wedi eu gwneud gan Dr. Schick (o Jerusalem), Duthoit ac eraill, yn gosod allan fod gwyneb y temlau yn eithriadol mewn maint, ac yn arbennig mewn uchder. Dyma fel y dywed Deon Stanley yn ei ddesgrifiad o Borth y Deml—"the

most startling novelty of the whole building." Yr oedd y Deml wedi ei hadeiladu o gerryg gwynion, a gwynebai tua'r dwyrain, gan edrych felly tua'r Olewydd. I'r fynedfa oedd yn ei phorth arweiniai rhes o risiau, ac o ddeu-tu i'r rhai hyn safai y ddwy golofn enwog *Boaz* a *Jachin*. Boaz oedd yr ogleddol a Jachin y ddeheuol. Yr oedd y naill a'r llall yn 23 cufydd o uchder, y 18 cufydd isaf yn golofn bres tua 4 cufydd o dryfesur, a'r 5 cufydd uchaf yn benglwm (*chapiter*) addurnedig iawn. Y farn gyffredin yw nad oedd dim rhan o'r adeilad yn pwyso arnynt, ac mai addurniadau yn unig oeddynt. Prin y gellir cydolygu â Dr. Robertson Smith mai eu diben oedd bod yn arwyddluniau o'r Duw a addolid, fel yr oedd rhai cyffelyb iddynt a safent o flaen temlau paganaidd. Gellir, feallai, gasglu oddiwrth ystyr eu henwau yr amcenid drwyddynt, fel hefyd drwy wyneb yr adeilad oedd tu ol iddynt, gyfleu y syniadau o gadernid a sefydlogrwydd.[1] Fel y ceir sylwi ynglŷn â Theml Herod, yr oedd nifer helaeth o ystafelloedd at wasanaeth yr offeiriaid wedi eu codi yn erbyn muriau yr adeilad cyssegredig, nes mewn ystyr ffurfio rhan o hono. Yr ydym i feddwl am y Cyssegr ei hun fel yn gyfansoddedig o ddwy ystafell y tu mewn i resi o ystafelloedd eraill, ac fel yn ffurfio megys calon yr oll. Y fwyaf gorllewinol o'r ddwy oedd y CYSSEGR SANCTEIDDIOLAF, yn 20 cufydd bob ffordd. Nid oedd dim goleuni naturiol yn d'od i'r ystafell hon, oddigerth yr ychydig allasai dd'od pan symmudid y wahan-len. Ystafell ydoedd hon yn dibynu ar oleuni y Presennoldeb Dwyfol. Cynnwysai'r ystafell yr arch, a'r cerubiaid a'i cysgodent hi. Yr oedd yr ystafell arall—y ddwyreiniol, a'r hon a elwid y CYSSEGR, yn fwy. Dywedir fod nifer o ffenestri neu agorfeydd bychain yn dwyn ychydig o oleuni i'r Cyssegr, ond lawn mwy na hynny—os oedd yn bod—yr oedd yn yr ystafell lewyrchiad mawr oddiwrth yr aur oedd ynddi gyda'r fath helaethrwydd ac ysblander. Ar ddeg bwrdd aur yr oedd deg o ganhwyll-brenau aur gyda saith caingc i bob un o honynt. Yr oedd yr holl ystafell—yn wir, y ddwy ystafell—wedi eu gorchuddio âg aur, ac yn ymddisgleirio yn ogoneddus odiaeth.

Y tu allan i'r adeilad yr oedd *Cyntedd yr Offeiriaid*, ac yn hwnnw yr oedd yr *Allor* yn sefyll gyferbyn â phorth y Deml. Y tu allan i gyntedd yr offeiriaid yr oedd *Cyntedd y rhai pur*, a'r tu allan i hwnnw drachefn yr oedd y *Cyntedd Allanol*. Er gallu gwneud y cynteddau hyn bu raid i Solomon ymgymmeryd â gwaith

[1] Gweler hefyd Dr. Witton Davies yn Ngeiriadur Hastings.

anhawdd iawn, sef *eangu pen y mynydd* trwy adeiladu i fyny ei ochrau. Yr oedd y muriau hyn godwyd ar ochrau'r mynydd yn rhai hynod gadarn, a rhai o honynt yn gymmaint a 200 troedfedd o uchder. Trwy hyn gwnaed pen y mynydd yn 700 troedfedd yn ysgwâr. Rhoddir hanes manwl am y gwaith hwn o eangu platfform y Deml yn Ngweithiau Josephus,[1] yr hwn a ddengys i eraill fod am oesau ar ol Solomon cyn i'r gwaith mawr a chostus gael ei gwblhau. Yn y flwyddyn 1882 gwnaed darganfyddiad dyddorol iawn mewn claddfa yn Rhufain (Catacomb SS. Pietro e Marcellino ad duas Lauros), sef darganfyddiad o ddarlun henafol o Deml Solomon wedi ei wneud mewn lliwiau prydferth ar ddernyn o lestr. Yr oedd hwn yn ddarganfyddiad dyddorol, oblegid nad oedd darlun o'r Deml ar gael, dim ond desgrifiadau. Gosodir allan yn y darlun hwn yr adeilad, y grisiau yn arwain iddo, y ddwy golofn fawr o ddeu-tu iddynt, ac yna y gwahanol gynteddoedd o gwmpas, ac amryw bethau eraill ynglŷn â gwasanaeth y Deml. Cawn sylwi etto ar y Deml ynglŷn â Theml Herod.

Mae'r trefniad wnaed i gael Dwfr at wasanaeth y Deml yn haeddu sylw pwysig. Gwaith mawr a chostus oedd gwneud y dyfrgistiau a'r dyfrffosydd eang sydd ynglŷn â'r Deml.[2] Prinder dwfr yw un o'r pethau mwyaf nodweddiadol o Jerusalem heddyw, a phoenus ydyw gorfod ymddibynu ar y fath gyflenwad gwael o ddwfr yn syml am na chaniatta y Sultan i neb ddwyn gwell cyflenwad i'r lle. Yn amser Solomon, ac ar ol hynny, yr oedd yn y ddinas gyflawnder o ddwfr rhagorol. Heblaw y dyfrgistiau eang a wnaed i ddal gwlawogydd trymion y gauaf, gwnaed peirianwaith pwysig, teilwng i'w gydmaru gyda *waterworks* ein gwlad a'n dyddiau ni. Yn nyffryn *Urtas*, ryw 8 milldir i'r de o'r ddinas, gwnaed llynnoedd mawrion i groni dwfr. Maent ar gael yn awr, ac yn cael eu hadnabod fel Llynnoedd Solomon. Gwnaed dyfrffosydd rhagorol i gludo'r dwfr o honynt i'r Deml. Mae darnau o'r dyfrffosydd i'w canfod, a rhyw gymmaint o ddwfr yn rhedeg drwyddynt, yn neullduol felly mor bell a Bethlehem. Gorchwyl cydmarol fach fyddai adnewyddu gwaith Solomon a gwaith Herod ar ei ol ynglŷn â'r dyfrffosydd hyn, a sicrhau i'r Jerusalem heddyw gyfundrefn ardderchog

[1] Rhyf. v. 5, 1.

[2] Dyma, meddai Conder, y "monuments" pennaf o waith Solomon a'r hynafiaid sydd ar gael.

o waith-dwfr. Sylwir ar ol hyn ar ddyfroedd y ddinas yn gyffredinol.

### *Y Palasdai Brenhinol.*

Wedi bod am "saith mlynedd" yn adeiladu tŷ yr Arglwydd (mae y ddau ddyddiad roddir yn 1 Bren. vi. 1 a 38 yn gwneud y cyfnod yn wyth mlynedd a phum mis), aeth Solomon ar unwaith i adeiladu palasdai brenhinol ar Ophel, sef rhan ddeheuol mynydd y Deml. Rhoddir manylion am yr adeiladau hyn yn 1 Bren. vii., ix. 10; 2 Chron. viii. 1—11, a chan Josephus, yr hwn a sylwa fod yr adeiladau "yn rhai eang iawn, a'u bod yn cynnwys amryw ystafelloedd tan-ddaearol a chûdd." Buwyd am 13 mlynedd yn eu hadeiladu, a dengys y desgrifiadau yn y lleoedd uchod eu bod yn adeiladau costus iawn. Gelwid y mwyaf o'r adeiladau yn "dŷ coedwig Libanus," a gelwid un arall yn "dŷ merch Pharaoh." Adroddir yr hanes am frenhines Seba wedi clywed am ogoniant Jerusalem yn dyfod yno i'w gweled, ac erbyn iddi weled palasdy Solomon, a'r grisiau oedd yn arwain o hono i dŷ yr Arglwydd, dywedir nad oedd dim ysbryd ynddi. Gyda'r holl wychder a berthynai i'r frenhines hon yr oedd, yngwyneb y fath olygfa ogoneddus, fel wedi ei tharo â pharlysdod. Yn amser Solomon cawn fod Jerusalem yn ei hadeiladau, ei heolydd, ei phyrth a'i phrifffyrdd wedi d'od yn ddinas fyd-enwog mewn gwychder, ond etto gwychder nad oedd i barhau ydoedd, a chawn i'r rhwysg a'r gogoniant ymddanghosiadol ddaethent i'r golwg i'r fath raddau ym mywyd Solomon brofi yn niweidiol i'w ddilynwyr ac i'r genedl ar ei ol.

### *Dinystriad y Ddinas a'r Caethgludiad i Fabilon.*

Cyfrifir ddarfod i'r Jerusalem a wnaed yn ddinas mor fawreddog gan Dafydd a Solomon gael ei gwarchau a'i dinystrio ddim llai na 17 o weithiau. Cymmerodd hynny le bump o weithiau cyn y Caethgludiad i Fabilon. Ym mhob un o'r ymosodiadau hyn difrodid y Deml ddrudfawr yn helaeth iawn. Yn wir, cyssegr-ysbeiliad i raddau helaeth oedd amcan yr ymosodiadau. Gorchfygwyd y ddinas gan y Babiloniaid yn 597 C.C. (2 Bren. xxiv. 11—15), a thrachefn yn 586 C.C., pryd y cymmerodd Nebuchodonosor yr holl genedl i Fabilon, oddigerth ychydig bobl dlodion adawyd yno i wasanaethu y gorchfygwyr, 2 Bren. xxv. 12. Symmudwyd holl drysorau y Deml a'r ddinas, ac yn eu plith, llestri y

Deml (2 Chron. xxxvi. 18), gan gynnwys, y mae'n debyg, Arch y Cyfammod.[1] Yn ddilynol i hyn bu y ddinas a'i theml am lawn hanner canrif yn ddim amgen na phentyrau o adfeilion. Yn ystod y cyfnod hwn yr oedd y Deml adfeiliedig ar Moriah a'r genedl adfeiliedig ym Mabilon, y naill yn gwaeddi am y llall.

### *Y Dychweliad o Fabilon. Teml Zorobabel.*

Pan roddodd Cyrus, brenhin Persia, ganiattâd i'r genedl ddychwelyd o Fabilon, manteisiodd y nifer o 42,360 ar y cynnygiad, a daethant gyda sain cân a moliant yn ol i Sïon. Ceir yn llyfr Ezra, yn 1 Esdras, ac yn Ngweithiau Josephus ychydig o'u hanes, ar ol dychwelyd, yn ail-adeiladu y Deml o dan arweiniad Zorobabel, ac yn ol gorchymyn Cyrus. Anfonodd brenhin Babilon lawer o'r trysorau yn ol, ond ymddengys nad oedd Teml Zorobabel o lawer i fyny âg eiddo Solomon mewn cyfoeth, maint a chynllun. Ar ol bod ugain mlynedd gyda'r gwaith agorwyd y Deml gyda gwyl cyssegriad yn 516 C.C. Am dymhor o 71 mlynedd ar ol ail-adeiladu y Deml, gadawyd y muriau yn garneddau hyd nes y codwyd hwy drwy offerynoliaeth Nehemiah, fel y mae'r hanes dyddorol yn Llyfr Nehemiah yn dangos.

Ymhell ar ol y dychweliad o Fabilon cymmerodd y CLUDIAD I'R AIPHT le, pryd yr alltudiwyd nifer fawr o drigolion Jerusalem ac eraill i'r wlad honno, fel y daeth Alexandria, ymhen amser fel canlyniad i hynny, yn lle pwysig iawn ynglŷn â bywyd a llenyddiaeth y genedl Iuddewig.

Yn ddiweddarach drachefn digwyddodd y CLUDIAD DAN ANTIOCHUS, pan y dygwyd ymaith yn garcharorion gymmaint a 10,000 o'r trigolion gan un a wnaeth amcan têg at ddifa y genedl, a diwreiddio Iuddewiaeth o'r tir.

### *Y Cyfnod Maccabeaidd. Y Cyfnod Rhufeinig.*

Am dri chwarter canrif bu y Maccabeaid mewn awdurdod, a llwyddasant i amddiffyn y ddinas yn effeithiol hyd nes y maent, trwy ymranniadau yn eu mysg eu hunain, yn syrthio dan iau Pompey a'r Rhufeiniaid yn 63 C.C. Parhaodd amryw o adeiladau y Maccabeaid hyd y Dinystr yn 70 O.C. Yn ystod y teyrnasiad Rhufeinig y mae Herod Fawr yn 40 C.C. yn d'od i awdurdod yn Judea, a daeth y ddinas o dan ei lywodraeth ef i wisgo yr un

[1] Barn Conder yw na ddychwelwyd mo'r arch o Fabilon.

mawredd ag a wisgai yn amser Solomon. Daeth Jerusalem Herod lawn mor fyd-enwog ag eiddo Solomon. Hanner Iuddew ydoedd Herod yr Edomiad, ac yr oedd llawn cymmaint o ddelw Cenhedlig ar y gwaith gyflawnodd ynglŷn â'r ddinas ag oedd o ddelw Iuddewig. I bob ymddanghosiad gwneud Jerusalem yn fath o ail Rufain oedd ei nôd. Yr oedd yn adeiladydd mawr. Yn 24 C.C. adeiladodd balas mawreddog iddo'i hun ar fynydd Sïon ac ar ochr orllewinol y ddinas. Yna ymgymmerodd âg adnewyddu a chryfhau *Baris* yr Asmoneaid, sef yr amddiffynfa oedd yn y pen gogleddol i faes y Deml, a galwodd Herod yr amddiffynfa ar ol enw Mark Antony yn *Dŵr Antonia.* Wedi iddo drachefn adeiladu chwareudy (amphitheatre) rhagorol i foddhau Cenedl-ddynion y ddinas, amcanodd at foddhau yr Iuddewon hefyd trwy adeiladu teml ag oedd, yn ol ei farn a'i drefniad ef, i fawr ragori ar eiddo Solomon.

## TEML HEROD.[1]

Mae'n wir bwysig i ni gael syniad da a chywir am Deml Herod, ac ynglŷn â hyn y mae desgrifiadau Josephus yn werthfawr iawn, yn neullduol pan y maent yn cael eu cadarnhau gan ddysgeidiaeth y Mishna.[2] Modd bynnag, rhaid cadw mewn cof fod ffigyrau

[1] Wrth astudio Teml Herod dylid sylwi ar y darlun o'r Deml sydd yn y llyfr hwn. Darlun yw o'r ffurflun (model) o Deml Herod a wnaed gan Miss M. A. Duthoit, yr hwn sydd ym meddiant y *R. T. Society* ar hyn o bryd. Yr oeddym wedi meddwl cael darlun o'r *model* gan Dr. Schick, Jerusalem, ond fe'n cynghorwyd gan y Milwriad Conder i geisio hwn yn hytrach, oblegid ei fod yn rhoddi y syniad cywiraf am y Deml yn amser Crist a ellir ei gael. Mae'r awdures, meddai Conder, wedi ymgadw yn fanwl at y tystiolaethau, ac wedi osgoi pob ychwanegiadau dychymmygol. Dylid hefyd astudio y "Cynllun o Deml Herod" ag yr ydym, mewn undeb â Mr. Basset, arch-adeiladydd, Aberystwyth, wedi ei wneud er esbonio'r darlun, ac er egluro'r Deml a'r hyn a berthynai iddi. Ceir eglurhad etto ar yr olwg syml a di-addurn sydd i'w gael o'r Deml yn ol *model* Miss Duthoit o honni.

[2] Ystyr y gair *Mishna* yw ail-adroddiad. Casgliad Iuddewig ydyw o *halachoth*, neu orchymynion pendant a phenderfyniadau deddfol wedi eu casglu gan yr hên Rabbiniaid, ac yn ffurfio math o *ail-ddeddf*, yr hon, ar ol bod am ganrifoedd yn un lafaredig, a wnaed yn un ysgrifenedig tua dechreu y Cyfnod Cristionogol. Yr oedd gan y genedl ddau lyfr pwysig eraill, sef y *Gemara*, yr hwn a gynhwysai nodiadau ychwanegol at, ac esboniadol ar y Mishna, a'r *Talmud* (disgyblaeth), yr hwn etto oedd lyfr yn cynnwys deddfau a gorchymynion traddodiadol y genedl. Golyga rhai mai yr un ydyw y Talmud a'r Gemara, ond cywirach, o bosibl, yw golygu fod y Talmud yn cynnwys y ddau—y Mishna a'r Gemara.

Josephus yn bethau ag y gweddai i ni fod yn ofalus yn eu cylch. Ymddengys y rhaid i ni ystyried ei fod ef yn bur llàc ynglŷn â hyn, mai dibynu y byddai ar amcangyfrif, ac nad oedd erioed wedi dysgu rhoddi sylw manwl i rif a mesur. Bydd engraifft neu ddwy yn ddigon er dangos y diofalwch hwn oedd yn ei nodweddu ynglŷn â defnyddiad ffigyrau. Dywed fod porthladd Cesarea yn gymmaint a phorthladd y Piraeus, tra nad oedd ond yr ugeinfed ran o hono. Dywed y ceid ym mûr y Deml feini oeddynt yn 40 cufydd o hŷd, a bod y dyffrynoedd oedd o amgylch y Deml yn 400 cufydd o ddyfnder.[1] Da iawn nad yw y diofalwch hwn o eiddo Josephus yn d'od i'r golwg ynglŷn â phethau eraill heblaw ei ffigyrau.[2] Gellir meddwl am y dyryswch a achosir pan ddeuir ar draws anghyssondeb fel a ganlyn: yn ol Josephus yr oedd y Deml o ran maintioli yn 625 o droedfeddi yn ysgwâr, ond yn ol y Talmud 666 o droedfeddi ydoedd. Pa un sy'n iawn? Fel y cawn sylwi, yr ydym i ddeall fod muriau'r Haram yn awr yn cynrychioli muriau Maes y Deml, neu furiau mwyaf allanol y Deml, ac fe gawn nad yw Josephus na'r Talmud yn rhoddi i ni yr iawn fesur o'r hyn sydd y tu mewn i'r muriau hynny. Mae'r muriau wedi eu mesur yn ofalus, ac fel y canlyn y maent:—Y mûr gogleddol yn 1042 troedfedd, y mûr dwyreiniol yn 1530, y mûr deheuol yn 922, a'r mûr gorllewinol yn 1601. Cauant i mewn faes sydd tua 36 o erwau a thua milldir o amgylchedd. Byddai hyn lawer yn fwy na'r mesur roddir gan Josephus ac yn y Talmud. Dywed Conder,[3] fodd bynnag, y byddai y mesur roddir yn y Talmud, sef 666 o droedfeddi yn ysgwâr (nid 666 o droedfeddi ysgwâr, sylwer) yn gywir am y Deml a'r cyntedd-oedd o'i hamgylch, heb gyfrif Cyntedd y Cenhedloedd, ac nid yw yn debyg y byddai i'r Iuddewon gyfrif hwnnw.

### *Muriau'r Haram neu Faes y Deml.*

Cyfyd cwestiynau fel hyn—Ai y muriau sydd yno yn awr oedd yno yn amser Herod, ac yn amser Iesu? Os nad yr un, a yw y muriau presennol lle yr oedd yr hên furiau? Yr ydym wedi gorfod teimlo mai cymmysglyd iawn eu syniadau, ac ammwys

[1] Rhyf. v. 2.

[2] "The general statements of Josephus are very valuable, but his measurements are quite unreliable" (Conder).

[3] Tent Work.

iawn eu dywediadau yw y cyffredin o awduron wrth gyfeirio at hyn. Pwysig iawn yw ein bod yn gwahaniaethu cydrhwng y gwahanol furiau—muriau'r ddinas, muriau'r Haram, muriau'r Soreg, a muriau'r Deml ei hun. Yr ydym eisoes wedi bod yn traethu am furiau'r ddinas, ac wedi nodi mai muriau Suleiman yw y rhan helaethaf o honynt sydd ar eu traed yn awr. Mae muriau'r Deml y tu mewn i furiau'r Haram, a muriau'r Haram y tu mewn i furiau'r ddinas—oddigerth mewn un man, lle y cawn fûr dwyreiniol yr Haram yn gwasanaethu yn y fan hono fel mûr y ddinas hefyd. Llawer o chwilio i mewn sydd wedi bod i *nodwedd* y gwahanol furiau sydd ar gael, er mwyn, os yn bosibl, penderfynu ar eu hoedran; ond nid cyn i'r "Palestine Exploration Fund"[1] ymgymmeryd â'r gwaith y bu i hynny gael ei wneud yn effeithiol. Y gŵr wnaeth fwyaf o neb mewn tirio i lawr at y muriau, a'u harchwilio i'w sylfeini ydoedd Syr Charles Warren. Gwnaed hyn i raddau helaeth iawn gan Warren, a chan Conder ar ei ol, ynglŷn â muriau'r Haram, fel erbyn hyn y cydnabyddir o berthynas i'r muriau hynny—(a) Fod y rhannau o honnynt sydd o dan y wyneb, gydag ychydig iawn o eithriadau, yn perthyn i adeg Herod Fawr; (b) Fod y rhannau sydd uwchlaw'r wyneb, gydag ychydig eithriadau, yn perthyn i gyfnod diweddarach;

[1] Cydolygwn yn rhwydd â'r hyn ddywed Dr. Benzinger (Hilprecht, 585) mai i Dr. Edward Robinson, Proffeswr mewn Duwinyddiaeth yn New York, y perthyn y clod o roddi cychwyniad i gyfnod newydd ynglŷn â'r astudiaeth o Palestina. Cyhoeddodd y gwr hwn yn 1841 lyfrau fu yn foddion i agor llygaid y byd o berthynas i'r wlad. Ffrwyth ei deithiau yn Palestina yn y flwyddyn 1838, a'i ymchwiliadau ar ol hynny, oedd y tair cyfrol hyn. Yn flaenorol i hynny arferai y teithwyr yn ddieithriad lettya gyda'r Mynachod, a derbyn pob cyfarwyddiadau a hysbysrwydd gan y rhai hynny. Ond penderfynodd Robinson na dderbyniai ddim ond yr hyn a gadarnheid gan yr Ysgrythyr a hên hanes eglwysig y gellid dibynu arno. Hefyd, trwy ei fod ef a'i gydymaith, Dr. Eli Smith, yn medru yr iaith Arabaeg, yr oeddynt yn gallu myn'd heibio'r Mynachod a gwneud ymholiadau gyda'r trigolion yn gyffredin. Ond ymddengys i ni fod gormod o duedd yn y llyfr Ellmynaidd-Americanaidd hwn o eiddo Hilprecht i anwybyddu ymdrechion y *Palestine Exploration Fund* Prydeinig, yr hon a gychwynodd ar ei gwaith yn 1865. Gormod yw dyweyd mai Robinson a'r Almaenwr Titus Tobler "yw darganfyddwyr y wlad." Dengys y llyfr ei hun hynny pan gydnebydd—wrth gyfeirio at y tir-fesuriad a wnaed rhwng 1872 ac 1878 gan Conder ac eraill—fod y map Seisnig yn nodi dros 10,000 o enwau, tra nad oedd Robinson yn gallu nodi rhagor na 1712 (Hilprecht, 592). Ni chafodd y *German Palestine Society* mo'i ffurfio hyd y flwyddyn 1878, ac ar y tu dwyreiniol i'r Iorddonen y mae ymchwiliadau y gymdeithas hono wedi bod gan mwyaf.

(c) Fod muriau'r Haram bresennol yn hollol yn yr un man ag yr oedd muriau Maes y Deml yn amser y Ceidwad. Pwysig iawn, fel hyn, oedd y darganfyddiad fod y rhan sydd dan y wyneb o furiau'r Haram yn Herodaidd. Mae ymchwiliadau wedi datguddio y ffaith fod hyn yn wir am bob rhan o'r muriau oddigerth y gongl ogledd-ddwyreiniol. Y tebyg yw mai perthyn i adeg llawer diweddarach nag eiddo Herod y mae y rhan hono o'i sylfeini i fyny. Wrth ymyl y rhan yna y mae llyn, sef y *Birket Israel* (Bethesda, medd rhai), ac y mae pob arwydd fod hwnnw wedi ei wneud yn gydmarol ddiweddar hefyd. Am y gweddill o'r muriau sydd dan y wyneb ni phetrusir bellach ddyweyd eu bod yn awr yn gymmwys fel yr oeddynt adeg Teml Herod. Agorodd Syr Charles Warren *shaft* yn 90 troedfedd o ddyfnder, nes cyraedd y fan lle y gorphwysai'r mûr ar y graig. Mae ymchwiliadau cyffelyb wedi eu gwneud ar bob ochr i'r Haram, a thrwy hynny y mae wedi ei brofi fod yr adeiladwaith o'r un nodwedd, a bod hwnnw yn sicr o fod yn Herodaidd, os nad yn gynnarach gwaith na hynny. Yn y gongl dde-ddwyreiniol, lle yr ymgyssyllta mûr Moriah gyda mûr Ophel (ac y maent yn ymgyssylltu fel y desgrifir hwy yn yr hanes), ceir nifer o farciau amrywiol ar y meini, ac o berthynas i'r rhai hyn fel a ganlyn y dywed un awdurdod—Dr. Russell Forbes'—"fod y marciau sydd wedi eu torri i mewn i'r cerryg yn perthyn i adeg Solomon, a'r rhai sydd mewn paent ar y cerryg yn perthyn i adeg Herod."[1] Mae amryw o'r farn fod y mûr yn y fan hon yn hollol fel y gosodwyd ef yn amser Solomon, a mwy drachefn o'r farn fod y meini yno er amser Solomon, ond wedi eu hail-osod yn amser Herod. Mae yr hyn a eilw Conder yn *master-course* o feini i'w cael yn y mûr deheuol, ac yn rhedeg oddiwrth y gongl dde-ddwyreiniol. Ceir syniad am eu mhaint pan ddynodir fod un o honynt yn 39 troedfedd o hyd, un arall yn 24 troedfedd. Yn y mûr gorllewinol drachefn ceir ychydig o olion y bont a arweiniai o'r mûr dros ddyffryn y Tyropean. Mae darn o un o'r ddau fwa oedd i'r bont i'w weled ar y mûr, ac fe gydnebydd pawb ei fod yn perthyn i amser Herod. Yn y flwyddyn 1873 darganfu Conder yn y mûr gorllewinol, heb fod ymhell o Antonia, bilerau attegol yn taflu allan, ac yn esgyn i fyny y mûr ryw gymmaint yn uwch na'r hyn yw gwyneb y tir y tu mewn i'r Haram; ac i Conder, meddai Syr Charles Wilson, y perthyn y clod o ddarganfod y darn




"MODEL" O DEML HEROD.—t.d. 49.

mwyaf henafol o fûr yr Haram sydd i'w gael uwch wyneb y tir. Mae'r gwaith ar y pilerau hyn, ac ar y darn o bont y Tyropean o'r un nodwedd yn hollol â'r muriau tanddaearol sydd o amgylch yr Haram, ac y maent oll yn ddiamheuol hên. Mae gŵr o safle de Vogüe wedi eu priodoli i amser Herod Fawr. Gofala Conder osgoi y demtasiwn o briodoli i'r muriau oedran mwy nag a ddylid, ond ni phetrusa ef fyned mor bell a dyweyd eu bod yn Herodaidd. Mewn llythyr attom fel hyn y dywed—"I do not think any Pre-Herodian masonry exists there at all;" ac ym mhlaid y farn hon cyfeiria at waith Josephus[1] yn tystio fod Herod wedi ail-adeiladu y muriau allanol *o'r sylfeini*. Ar yr un pryd fe gydnabyddir fod yr holl adeilad-waith dan sylw o'r un nodwedd, ac yn perthyn i'r un cyfnod a muriau yr Haram yn Hebron, ac, fel y cawn sylwi ynglŷn â'r rhai hynny, y mae awdurdodau o gryn bwys yn eu priodoli i amser Solomon. Ond sut bynnag am hynny, a dyweyd y lleiaf y mae llu o broflon fod muriau rhagorol yr Haram bresennol yn hollol yn yr un lle, a bod rhan helaeth o honynt,—bron yr oll o honynt sydd dan y wyneb,—yn hollol yn awr fel y gosodwyd hwy gan Herod Fawr, dros ddwy fil o flynyddau yn ol.

### *Muriau'r Deml a Muriau'r Soreg.*

Nid oes dim o'r rhai hyn ar gael yn awr. Y mae prophwydoliaeth yr Iesu wedi ei llawn wirio—"Ni adewir yma garreg ar garreg a'r nis dattodir." Fel hyn y tystia Conder mewn llythyr attom—"Of the Temple itself not one stone stands on another. All its foundations are under the platform on which the Dome of the Rock now stands." Yr unig bethau sydd yn weledig ac yn weladwy hyd yn hyn i'n cyssylltu gyda'r Deml ei hun yw y *Graig Sanctaidd* (Sakhrah) ag y cawn sôn am dani etto, a'r dyfrgistiau helaeth sydd yn gorwedd dan Faes y Deml, gydag agorfa i fyned attynt. Mae'n debyg iawn, pe caniattai y Sultan i ymchwiliadau gael eu gwneud, y canfyddid muriau'r Deml ei hunan, a phethau eraill o bwys mawr.

Yr ydym i feddwl am furiau eraill yn sefyll rhwng muriau'r Deml a muriau'r Haram. Enw'r Iuddewon ar y muriau canol yma ydoedd *Soreg* (cymhlethedig). Yr enw Groegaidd rydd Josephus yw *druphaktos*, yr hyn a olyga bawlgae derw, ac y mae'r enwau yn awgrymmu y cwestiwn—pa beth oedd defnydd yr argae



[1] Rhyf. v. 5.

oedd yn cael ei gwneud gan y muriau canol hyn? Yn ol un awdurdod nid oedd y Soreg yn golygu dim amgen na therfyngylch (screen) wedi ei wneud o ddellt;[1] ond tybiwn mai llawer mwy tebygol yw ei fod mewn rhan o feini ac mewn rhan o goed. Yr hyn ddywed Josephus am dano yw "ei fod 4½ troedfedd o uchder gyda thair-ar-ddeg o fynedfeydd drwyddo." Nid oedd felly yn ddigon uchel i guddio yr hyn oedd y tu hwnt iddo; nid oedd, oblegid y mynedfeydd, yn golygu dim attalfa ar y rhai oedd yn meddu hawl i fyned y tu hwnt iddo; ond yr oedd yn gwasanaethu yn effeithiol fel gwahan-fur rhwng y lle ag oedd yn agored i Genhedloedd a lle nad oedd ond traed yr Iuddewon i'w gyffwrdd. Sylwer ar y "Cynllun o'r Deml" sydd wedi ei barottoi gogyfer â'r llyfr hwn ac fe welir fod y Cyntedd allanol yn cael ei rannu yn dda gan y Soreg. Y tu allan i'r Soreg yr oedd Cyntedd y Cenhedloedd, y tumewn iddo Cyntedd yr Iuddewon, yr hwn a adnabyddid wrth yr enw *Chel.* Oddiwrth y darlun o'r Deml sydd gennym o waith M. A. Duthoit gellid meddwl nad oedd y Chel ond llwybr cûl, a bod y Soreg hefyd yn îs na'r hyn a nodwyd. Y gwir yw fod yn anhawdd gwneud darlun cywir o'r pethau hyn. Fel lle ag oedd "o gwmpas y Cyssegr" yr oedd yn lle rhy gyssegredig i Genhedloedd fyned iddo; ond, o'i gydmaru â'r Cyssegr ei hun, nid gormod, wrth ddesgrifio y ddau le, yw cymhwyso geiriau y prophwyd—"y cyssegr a'r digyssegr"?[2] Ai cyfeirio at y Soreg yn gwahanu rhwng y Chel a Chyntedd y Cenhedloedd y mae Ezeciel wrth son am "wahanu rhwng y cyssegr a'r digyssegr"? Nage, os gwir y dywed y Parch. J. King, M.A.,[3] nad oedd y fath beth a Chyntedd y Cenhedloedd yn bod ynglŷn â'r Temlau blaenorol, ac nad oedd caniattad i genhedloedd i fyned i'r Temlau hynny, ond mai peth newydd o eiddo Herod ydoedd trefnu cyntedd o fewn y Deml i ba un y gallai Cenhedloedd fyned. Ynglŷn â hyn rhaid cofio fod llawer o genhedloedd yn y ddinas yn amser Herod, a'i fod yntau yn awyddus i wneud y ddinas mewn rhan yn Genhedlig. Modd bynnag, sicr yw fod y Cyntedd allanol yn Nheml Herod yn cael ei rannu gan y Soreg yn ddau —un yn agored i Genhedloedd, ac un nad oedd yn agored ond i Iuddewon. Ychydig flynyddau yn ol gwnaed darganfyddiad pwysig iawn gan un o gynrychiolwyr y *Palestine Exploration Fund*, sef M. Clermont Ganneau. Ar bileri yma a thraw ar hŷd y Soreg

[1] Conder yn Ngeir. Hastings. [2] Ezec. xlii. 20.

[3] Recent Discoveries on the Temple Hill, 133.

ceid meini marmor a rhybudd yn argraffedig arnynt rhag i Genhedloedd fyned y tu hwnt i'r Soreg, a'r rhybudd hwnnw yn ieithoedd y Cenhedloedd. Heblaw yn yr Hebraeg, yr oedd mewn Groeg a Lladin. Canfyddodd M. Ganneau un o'r meini hyn, ymhen pedair canrif ar bymtheg wedi iddo ddisgyn o'r gwahanfur. Nid oes ammheuaeth am hyn. Arno y mae yn argraffedig, mewn Groeg, rybudd ag y mae a ganlyn yn gyfleithiad llythyrenol o hono:—

> "Dim un dieithrddyn i fyned
> y tu mewn i fur y gwahaniad
> a'r cyntedd sydd o gwmpas
> Y Cyssegr; pwy bynnag a
> ddalier y tu mewn i'r cyfryw
> a fydd drwy hynny yn agored
> i golli ei fywyd."

Ynglŷn â'r darganfyddiad hwn dylid sylwi ar y difyniad a wna Josephus o eiriau Titus adeg "Dinystr Jerusalem"—"Oni chaniattasom i chwi godi y canol-fur hwn i fyny o flaen eich cyssegr? Oni oddefwyd i chwi wneud y pileri sydd ar hŷd y mur, gyda'r rhybudd yn argraffedig arnynt nad oedd dieithr-ddyn i fyned y tu hwnt? Oni roddasom i chwi ganiattad i ladd yr un elai y tu hwnt, er iddo fod yn Rhufeinwr"? Gan nad pa un a laddwyd neb gan yr Iuddewon am droseddu yn hyn y mae yn amlwg eu bod yn meddu caniattad i ladd. Gweler, fodd bynnag, yr hyn ddywedwyd gennym yn yr Esboniad ar Ioan ii. 271. Y Soreg, yn ddiau, ac nid y wahan-len rhwng y Cyssegr a'r Cyssegr Sancteiddiolaf, oedd ym meddwl yr Apostol pan ddywedai wrth yr Ephesiaid—"Weithian, gan hynny, nid ydych chwi mwyach yn ddieithriaid a dyfodiaid . . . . Canys efe yw ein tangnefedd ni, yr hwn a wnaeth y ddau yn un, ac a ddattododd ganol-fur y gwahaniaeth (middle wall of partition) rhyngom ni" (Ephes. ii. 19—21).

### *Safle y Deml.*

Tra y mae'n berffaith sicr fod yr adeilad sanctaidd—y Deml ei hunan—yn sefyll y tu mewn i'r Haram bresennol, nid yw pawb o'r un farn ynghylch y fan arbennig o fewn y Maes lle y safai, ac nid oes caniattad i neb dirio o dan y wyneb er penderfynu y cwestiwn. Cawn Fergusson, Thrupp, Lewin, Syr Charles Wilson, ac eraill, yn dadleu mai safle y Deml oedd y gongl dde-orllewinol, ond y mae'n llawer haws dilyn Conder yn y matter hwn. Yn ei

"Tent Work," ac hefyd yn ei erthygl ar Jerusalem yn Ngeiriadur Hastings dadleua yn argyhoeddiadol dros fod safle yr adeilad yn nghanol y maes. Dywed fod gorweddiad y graig dros yr holl fryn yn beth sydd, trwy ymchwiliadau helaeth iawn, wedi ei wneud allan yn derfynol, ac o ganlyniad ein bod yn rhwym o gymmeryd ein harwain gan y lyfelydd a'r llwyfanau sydd bellach yn wybyddus. Mae'n lled sicr i'r tair teml gael eu codi ar yr un safle. Dywed Josephus "fod Zorobabel wedi gosod yr allor yn y lle y gosodwyd hi gan Solomon." Dywed hefyd "nad oedd pen y bryn ar y dechreu ond prin digon i gynnwys y Deml a'r allor." Oddiwrth hyn yr ydym i gasglu mai llwyfan uchaf y maes oedd y safle. Mae hwnnw i'w gael lle y saif y Graig Sanctaidd. Nid yw o gymmaint gwahaniaeth yn awr pa un ai edrych ar y graig a wnawn fel safle yr Allor ynte fel safle y Cyssegr Sancteiddiolaf. Os cymmerir llwyfan y graig i ddynodi y *platform* ar ba un y safai y temlau, yna yr ydym i chwilio am lwyfanau eraill o gwmpas hwn ac yn is nag ef. Rhoddir lyfelydd y gwahanol gynteddoedd i ni yn fanwl gan Maimonides, ac y mae Conder wedi cael allan fod lyfelydd yn cyfatteb iddynt yn hollol, i'w cael yno yn awr yn amgylchu llwyfan y Graig Sanctaidd. Mae lefel y graig yn 2440 troedfedd uwchlaw'r Canoldir. Yr oedd Cyntedd yr Allor 6 cufydd yn is na'r Deml, a cheir fod yr ail lefel yn 2432 o droedfeddi. Yr oedd Cyntedd y Gwragedd yn îs etto, a cheir lefel ar y graig cyfattebol i hynny, sef 2422 o droedfeddi. Yr oedd y cyntedd allanol yn is drachefn, ac y mae y lyfelydd ar y graig yn cyfatteb i hynny, yn 2414, 2409 a 2406 o droedfeddi. Y mae disgyniad y graig oddiwrth y Sakhrah yn nghyfeiriad y dyffrynoedd—ar y dwyrain a'r gorllewin, ac ni byddai yn naturiol i feddwl am y temlau yn cael eu hadeiladu yn nghongl dde-orllewinol y maes, gan y byddent felly yn cael eu hadeiladu ar ddisgynfa (slope) yn y graig. Peth arall, dywedir yn y Mishna fod porth dwyreiniol y Deml yn gwynebu yn sŷth at ben yr Olewydd. Byddai hyn yn berffaith wir am adeilad yn sefyll lle y saif y Sakhrah. Peth arall etto, yw y cyssylltiad oedd yn bod cydrhwng y Deml âg Antonia. Mae Antonia yn sefyll ym mhen gogledd-orllewinol y maes. Yr oedd llwybr tanddaearol yn arwain o'r naill i'r llall, a mwy, yr oeddynt yn gallu edrych o dŵr Antonia i mewn i gynteddoedd y Deml. Yn ngwyneb hyn etto y mae yn llawer mwy naturiol meddwl am y Deml yn nghanol y maes na meddwl am dani yn y cwr pellaf oddiwrth Antonia. Dyddorol fydd sylwi ar y mapiau o'r Haram

er gweled ar ba fan ynddo y nodir safle y Deml. Tueddir ni i farnu fod ei safle lle y saif y *Dome of the Rock*, yr hon weithiau a elwir yn *Mosque of Omar*. Yr ydym wedi rhoddi darlun o'r Fosc hono ar glawr ein llyfr am y barnwn yn sicr ei bod yn sefyll lle y safai y Temlau.[1]

Yr oedd Teml Herod yn fwy ei mhaint nag un Solomon, ond nis gallasai y bobl deimlo ei bod mor ogoneddus. Yn un peth, ystafell wâg oedd ei chyssegr sancteiddiolaf hi; oblegid yr oedd yr Arch a'i chynnwys, mae'n debyg, wedi eu colli adeg y Caethgludiad i Fabilon. Mae'n draddodiad ymysg y genedl fod yr Arch yn gladdedig ym maes y Deml hyd heddyw, a dywedir y petrusai Iuddew, pe caniatteid iddo, i rodio ar y maes cyssegredig, rhag y byddai wrth hynny yn digwydd sathru y fan lle y gorwedd Arch yr Arglwydd. Gwaith cydmarol fach oedd y gwaith o adeiladu y Tŷ Sanctaidd ei hunan yn Nheml Herod. Ymddengys mai adnewyddu Tŷ Zorobabel a wnaed; ni chaniattawyd i neb ond offeiriaid i fod gyda'r gwaith, a chwblhasant ef mewn deunaw mis. Buwyd am wyth mlynedd gyda'r cynteddau a'r mynedfeydd; yn wir, buwyd am ddeunaw mlynedd ar hugain cyn cwblhau yr holl waith ynglŷn â Theml Herod. Mae cyflawnder o brofion ddarfod i Herod eangu maes y Deml yn fawr. Dywed Josephus iddo "dynnu'r muriau oedd o amgylch y maes i lawr at y sylfeini, a chau i mewn gymmaint arall o gylch ag o'r blaen." Oblegid hyn mae'n debygol na adawyd ond ychydig, os gadawyd dim o gwbl, o'r muriau a amgylchent y temlau blaenorol i aros —er y gellir meddwl am yr hên feini yn cael eu defnyddio. Gorchest-waith mawr fu eangu y maes; oblegid bu'n rhaid adeiladu ochr y mynydd ar raddfa llawer eangach nag a wnaed yn amser Solomon. Dywedir am un mur yn codi i fyny o ochr y bryn gymmaint a 200 o droedfeddi. Sonir am Herod gyda'r gwaith yma yn defnyddio meini anferth ac yn eu cydio wrth y graig oedd oddi tanodd iddynt gyda barau haiarn. Pan sylwir yn awr ar y muriau Herodaidd hyn, ag sydd gan mwyaf, fel y sylwyd, islaw wyneb y tir, nid yw yn sŷn y dywedid nad oedd muriau cyffelyb iddynt mewn mawredd i'w cael yn yr holl fyd

[1] Only twenty years ago Fergusson still maintained that the Sepulchre of Christ was under the Mosque of Omar, and that the Temple stood on the south-west corner of the present Haram. It is now no longer disputed that the Temple stood about where the present Dome of the Rock, also called the Mosque of Omar, stands."—*Hilprecht, 598.*

(er fod rhai rhagorach na hwy feallai i'w cael ar y pryd yn Heliopolis), a'u bod yn destyn edmygedd y bobl a ymddiddanent gyda'r Iesu gan ddyweyd—"chwe' blynedd a deugain y buwyd yn adeiladu y deml hon," Ioan ii. 20. Fel adeilad-waith yr oedd Teml Herod yn fwy a mwy mawreddog nag eiddo Solomon. Yr oedd y perl godidocaf o adeilad a ellid ar y pryd ei godi. Ond tra yr oedd yr Iuddewon yn falch iawn o'r adeilad, nid oedd ganddynt ddim diolch i'r brenhin, yr hwn a'i hadeiladodd er mwyn ennill eu ffafr hwy. Ei gashau ef a wnaent yn galonog, er y gorchestwaith hwn a wnaethai iddynt ac erddynt.

### *Pyrth, Rhodfeydd, a Chynteddau'r Deml.*

Er rhoddi syniad am y Deml[1]—ei phyrth, ei rhodfeydd, a'i chynteddau, ni a ddychymmygwn am un yn byw yn Ninas Dafydd, ac yn talu ymweliad â'r Deml. Byddai yn ofynol iddo yn gyntaf oll groesi dyffryn y Tyropean. Gwnaeth Solomon o leiaf un bont i groesi y dyffryn. Yr oedd yr hyn a elwid yn *Bont Tyropea* yn un ragorol iawn, a gwasanaethai er cyssylltu y ddinas uchaf gyda Maes y Deml. Dywed Josephus fod pedwar porth yn arwain i'r maes ar yr ochr orllewinol. Yr oedd un ar gyfer pont fawr y Tyropea, a cheisir penderfynu pa le yr oedd hwnnw. Mae dau fwa (arch) wedi eu darganfod yn y mur gorllewinol ag ydynt i'w hystyried, mae'n amlwg, fel cychwyniadau pontydd. Gelwir un yn *Fwa Robinson*, oddiwrth enw Dr. Robinson, y darganfyddwr enwog o'r America, a gelwir y llall yn *Fwa Wilson*, ar ol Syr Charles Wilson. Er fod ymchwiliadau helaeth wedi eu gwneud yn y dyffryn gan Syr Charles Warren ac eraill, a bod darnau o'r colofnau ar ba rai y pwysai y bont wedi eu darganfod yn isel yn y ddaear, nis gellir bod yn sicr at ba un o'r ddau fwa uchod yr arweiniai Pont y Tyropea. Dysgir fod y bont hon yn un o ryfeddodau'r ddinas, a'i bod yn 50 troedfedd o lêd ac yn 354 troedfedd o hŷd. Ond heblaw y porth a arweiniai o'r Haram at Bont y Tyropea, fe sonir am borth arall yn cyssylltu y maes gyda llwybr tanddaearol, a dau borth drachefn yn ei gyssylltu, yn ol y Mishna, gyda maes-drefi (suburbs) y ddinas, ac mae'n bosibl fod pontydd gogyfer â'r ddau borth yma. Yn awr, byddai yn ofynol i'r Iuddew dan sylw groesi un o'r pontydd hyn a myned trwy un o'r pyrth hyn i mewn i Faes y Deml. Yn y maes cyssegredig

[1] Gweler ymhellach Jos. Hynaf. xv. 11; Rhyf. v. 5; hefyd desgrifiad Talmudaidd o'r Deml gan Dr. Chaplin yn y P.E.F. am 1886.

ceid mûr o fewn mûr, a rhwng y muriau hyn ceid cynteddau.

Y peth cyntaf i daro sylw yr ymwelydd, ar ol myned trwy y porth a thrwy y mûr mwyaf allanol, fyddai y rhodfeydd colofnog a amgylchent y maes gyda'r mûr allanol. Yr enw Seisnig ar y rhai hyn yw *Cloisters* (Llad. *claustrum*—cauedig), ond gelwir y rhai oedd ar ochr ddwyreiniol y Maes yn *Solomon's Porch*—Porth Solomon. Ar y cyntaf—yn amser Solomon—nid oedd y rhodfeydd cauedig hyn i'w cael ond ar yr ochr ddwyreiniol yn unig. Yn ddiweddarach cariwyd hwy o amgylch y Deml; ond parhawyd hyd yn nod yn adeg Teml Herod i alw y rhai dwyreiniol yn Borth Solomon. Cynnwysai'r *Cloisters* resi o golofnau gyda llwybrau rhwng pob rhes, a nèn dros y cwbl, ac felly ffurfient leoedd dymunol i rai ymgysgodi rhag gwres yr haf a gerwinder y gauaf. Yr oedd y colofnau yn 25 o gufyddau (dros 33 troedfedd), nes peri felly fod nén y rhodfeydd yn uchel. Yr oedd y colofnau hefyd, medd Josephus, bob un o honynt, yn un darn o farmor gwyn, ac yr oedd y nèn yn addurnedig odiaeth. Yr oedd Porth Solomon yn gyrchfan poblogaidd. Mae'n debyg i'r Iesu fod yno droion yn athrawiaethu. Cawn yn ol Ioan mai "rhodio yn y deml ym mhorth Solomon" yr oedd yr Iesu, gan ddysgu, pan y "cododd yr Iuddewon gerrig i'w labyddio fwy nag unwaith" (viii. 12—59, x. 22—39). Ymhellach etto, ynglŷn â'r hanes yn yr Actau dywedir —"yr holl bobl yn frawychus a gyd-redodd attynt (Petr ac Ioan) i'r porth a elwir Porth Solomon" (iii. 11), ac hefyd "yr oeddynt oll yn gyttun ym mhorth Solomon" (v. 12). Ymddengys fod y rhodfeydd a redent gyda'r mûr deheuol yn adeg Teml Herod yn rhai mwy arbennig nag hyd yn nod y rhodfeydd gyda'r mûr dwyreiniol. Fel y desgrifir hwy gan Josephus yr oeddynt yn 600 o droedfeddi mewn hŷd, yn rhedeg o orllewin i ddwyrain, yn cynnwys 162 o golofnau mor braff fel y byddai raid wrth dri dyn gyda breichiau estynedig i fedru amgylchu un o honynt, ac yn wahanol i'r rhodfeydd eraill yr oedd yma bedair rhes o golofnau a thri llwybr cydrhyngddynt. Adnabyddir y *Cloisters* deheuol hyn wrth wahanol enwau, megys y Rhodfeydd Brenhinol (Royal Cloisters), *Basilica* Herod, a'r Rhodfeydd Triphlyg (Triple Cloisters), gan gyfeirio at y tri llwybr oedd ynddynt. Nid ammhriodol ychwaith yr enw *Basilica*, pan y cawn fod y canol o'r tri llwybr yn 45 troedfedd o lêd, a'r ddau eraill yn 30 troedfedd yr un.

Wedi i'r person dan sylw fyned trwy y porth a thrwy y rhodfeydd oedd yn rhedeg gyda'r mûr, y mae yn yr hyn a elwir yn *Gyntedd*

*Allanol,* sef cyntedd eang iawn yn amgylchu y Deml. Yr oedd y rhan fwyaf allanol o hono yn myned dan yr enw o *Gyntedd y Cenhedloedd,* ac yr oedd caniattad i Genhedloedd, yn gystal ag i Iuddewon, i fyned i'r fan yna. Yn Nghyntedd y Cenhedloedd y cynhelid y farchnad a ymgyssylltai â gwasanaeth y Deml, ac yn y fan hon y cyflawnodd yr Iesu y wyrth foesol o lanhâd a ddesgrifir yn Ioan ii. 13—17. Erbyn y deuai yr ymwelydd i ben mwyaf mewnol Cyntedd y Cenhedloedd yr oedd wrth y *Soreg,* ac os yn Iuddew elai trwy y gwahan-fur hwn yn hollolddibetrus i'r rhan arall o'r Cyntedd allanol, yr hwn a elwid yn *Chel.* Yr oedd y Chel ar yr un lefel a Chyntedd y Cenhedloedd, a dim ond mûr bychan y Soreg yn eu gwahanu. Sylwer ar y Cynllun (tudal. 66) er gweled lle y mae amrywiaeth yn bod yn y lyfelydd.

Erbyn cyrhaedd pen mwyaf mewnol y Chel byddai'r ymwelydd wrth fûr y Deml ei hunan. Yr oedd pedwar drws (neu borth) ar y naill ochr i'r adeilad a'r llall, ac un yn y talcen dwyreiniol. Y Porth dwyreiniol yma, sef *Porth Susan* fel y bernir, ydoedd y pennaf o'r pyrth hyn, a byddai raid dringo 12 o risiau i fyny atto.

Erbyn myned trwy y porth mawr dwyreiniol y mae'r gŵr wedi ymgodi i lawr uwch, ac y mae yn yr hyn a elwir yn *Gyntedd y Gwragedd.* Gelwid ef felly am fod ynddo esgynlawr ac oriel at wasanaeth gwragedd yn neullduol. Hwn ydoedd cyntedd mwyaf cyffredin yr Iuddewon, ac yr oedd yn rhan o'r tŷ cyssegredig. Yr oedd yn gyntedd eang, 135 o gufyddau yn ysgwâr. Yn ei bedair congl yr oedd pedwar cyntedd ysgwâr wedi eu neullduo i ddibenion arbennig—un at wasanaeth y Nazareaid—y dosbarth glânaf o Iuddewon, y llall at wasanaeth gwahangleifion—y dosbarth aflanaf. Wrth y mynedfeydd i'r cyntedd hwn yr oedd y gwahanol "Drysorfeydd," lle y cyflwynai'r bobl eu rhoddion. Dywedir mai mewn gwahanol fanau yn y cyntedd hwn yr arferai y Rabbiniaid addysgu y bobl, ac y mae'n bur debyg mai yma y cafwyd yr Iesu yn fachgen 12 mlwydd oed "yn eistedd y'nghanol y doctoriaid, yn gwrandaw arnynt ac yn eu holi hwynt." Yn yr hanes geir yn Act. xxi., ymddengys fod Paul a'r Groegiaid oedd gydag ef wedi myned ymlaen i un o'r cynteddoedd Iuddewaidd. Dyna a raid i ni olygu wrth y gair—"y Groegiaid hefyd a ddug efe i'r deml, ac a halogodd y lle sanctaidd hwn." Yr oeddynt wedi myned ymlaen i'r Chel, neu feallai i Gyntedd y Gwragedd. Wrth weled hyn y mae'r Iuddewon yn cynhyrfu, a "hwy a'i tynnasant ef allan o'r deml; ac yn ebrwydd cauwyd y drysau."

Gellir oddiwrth hyn olygu eu bod wedi ei dynnu allan o'r cynteddau Iuddewaidd i'r cyntedd allanol, neu gyntedd y Cenhedloedd; neu, fel yr ystyria Meyer, wedi ei dynnu allan o'r Deml i'r heol gyhoeddus, a hynny oblegid y bwriadent ei ladd, yr hyn na fynnent ei wneud y tu fewn i'r Deml.

Ym mhen gorllewinol Cyntedd y Gwragedd fe welir ar y "Cynllun" bymtheg o risiau hanner-cylchog, a grisiau enwog oedd y rhai hyn. Ar y grisiau nodedig hyn y derbyniodd Simeon y baban Iesu i'w freichiau, ac y llefarodd eiriau y "Nunc Dimittis;" wrth droed y grisiau hyn yr arferai gwahangleifion ac eraill dderbyn eu glanhâd; ac ar y grisiau hyn y cenid "Caniadau y Graddau." Arweiniai y grisiau at *Borth Nicanor*, a dyma'r porth pennaf a godidocaf o holl byrth y Deml. Yr oedd y drws pres oedd arno mor drwm fel yr oedd yn rhaid cael 20 o ddynion i'w agor a'i gau, yr hyn a wneid bob boreu a hwyr. Ar y dwyrain i'r porth yr oedd Cyntedd y Gwragedd, ar y gorllewin iddo yr oedd Cyntedd yr Allor, tra ar bob tu iddo yr oedd cyntedd cul a adnabyddid fel *Cyntedd yr Israel*, yr hwn oedd yn gyfyngedig i wŷr dewisol o fysg yr Israeliaid, y rhai a arweinient yn y gwaith o addoli. Ychydig gyda 15 troedfedd oedd llêd y cyntedd hwn, ond byddai y rhai fyddent ynddo ar lwyfan uwch o saith troedfedd na'r rhai fyddent yn Nghyntedd y Gwragedd, ac ar lwyfan îs o dair troedfedd na'r offeiriaid fyddent yn Nghyntedd yr Allor. Os oedd yr ymwelydd dan sylw yn un o'r Israeliaid hyn caniatteid iddo fyned mor bell a'r cyntedd hwn nad oedd ond rhyw dair neu bedair gris rhyngddo a Chyntedd yr Allor.

Os drachefn mai un o'r offeiriaid, neu un o weision y Deml, oedd y gŵr, caniatteid iddo, wrth gwrs, fyned ymlaen i'r cyntedd mwyaf mewnol oll, sef *Cyntedd yr Offeiriaid*, neu *Gyntedd yr Allor*. Mesurai hwn 187×135 o gufyddau, a safai ar lwyfan 10 troedfedd yn uwch na Chyntedd y Gwragedd. Ar y ddwy ochr iddo—yr ogleddol a'r ddeheuol—yr oedd rhodfeydd colofnog (cloisters) at wasanaeth yr offeiriaid, a thu cefn i'r rhodfeydd hyn, fel y dengys y "Cynllun," yr oedd rhes o ystafelloedd pwysig, enwau pa rai a roddir gyda'r Cynllun, a dylid sylwi arnynt. Y prif wrthrych, wrth gwrs, yn Nghyntedd yr Offeiriaid neu Gyntedd yr Allor oedd yr Allor—*Allor fawr y poeth-offrwm.* Safai hon yn nghanol y cyntedd, gyferbyn â Phorth Nicanor, ar y naill law, a chyferbyn â Phorth y Deml ar y llall. Yr oedd y

gwaith maen oedd dani yn mesur 32 cufydd yn ysgwâr, a'r Aelwyd yn mesur 28 cufydd yn ysgwâr. Gwyn-galchid rhan isaf yr Allor yn rheolaidd, ac yr oedd y rhan uchaf, gan gynnwys yr Aelwyd, yn orchuddedig gan brês. Yn ei phedair congl hi yr oedd y Cyrn. Gellid gwneud tri tân arni, ac yr oedd yno drefniadau manwl at ei glanhau. Yn gymmaint a'i bod lawn 10 cufydd o uchder, yr oedd *Esgynfa* (cebesh), sef llwybr 16 cufydd o lêd a 32 cufydd o hŷd, yn arwain i fyny tuag atti. Gerllaw yr Esgynfa yma yr oedd y *Cawg*, neu'r Noe-olchi. Nodweddid y cyntedd hwn, gyda'r oll a berthynai iddo, gan y glendid mwyaf, ac yr oedd ei lawr yn gyfansoddedig o frithwaith (mosaic) prydferth.

Bellach byddai yr addolwr dan sylw wrth yr adeilad cyssegredig —y Deml ei hunan. Ar ol son am gynteddau eang a phethau eraill, yr ydym, wedi'r cwbl, yn d'od at adeilad cydmarol fychan fel canolbwynt yr oll, a buasai'r adeilad hwnnw yn ymddangos yn llai lawer oni bae am y porth mawr oedd iddo, a'r ystafelloedd oeddynt wedi eu hadeiladu o'i gwmpas. Er myned i'r Deml o Gyntedd yr Allor rhaid oedd esgyn 12 o risiau er cyrhaedd yn gyntaf y *Phatakh*, sef y fynedfa fawr agored oedd i'r porth, ac yr oedd y fynedfa hono yn 20 cufydd o lêd a dwbl hynny o uchder. O bob tu i'r grisiau hyn yn Nheml Solomon yr oedd y ddwy golofn y soniwyd am danynt, ond dywedir nad oes hanes eu bod i'w cael yn Nheml Herod. Fel yn Nheml Solomon, yr oedd y porth yn rhan neullduol iawn o'r adeilad. Sylwyd eisoes ei fod yn fawr yn Nheml Solomon, ond yr oedd yn fwy yn eiddo Herod. Yr oedd ei uchder yn 100 cufydd, tra nad oedd uchder y gweddill o'r adeilad ond 45 cufydd; a'i lêd (neu yn hytrach ei hŷd) yn 100 cufydd, tra nad oedd llêd yr adeilad—gan gynnwys yr ystafelloedd oedd o bobtu iddo—ond 70 cufydd. Yr oedd ochrau a phen y fynedfa fawr yma, fel y gwelir yn y darlun, yn addurnedig gan winwydden wedi ei gwneud o aur pur, a dywed Josephus fod holl wyneb *Porth y Deml* yn orchuddedig âg aur—nes fod yr olwg ar yr adeilad yn ddisglaer a mawreddog iawn.[1] Y tu mewn i'r Porth ceid cyntedd helaeth. Yn nghanol y cyntedd hwn ac ar gyfer y

[1] Nid tu allanol y Deml na'i hamrywiol furiau oedd, fel rheol, yn addurnedig, ond y tu mewn iddynt. O bosibl y teimla rhai yn siomedig wrth edrych ar y darlun o'r Deml sydd yn y llyfr hwn, ac wrth weled fod yr adeilad a'r muriau mor syml a di-addurn; ond rhaid cofio yr hyn ddywed Josephus—"heb fod yn addurnedig ar y tu allan gan waith paentiwr na cherfiwr." Symledd oedd y tu allan, a'r gogoniant oll bron o'r tu mewn.

fynedfa yr oedd Drws y Cyssegr, yn 10 cufydd o lêd a dwbl hynny o uchder. O bobtu'r drws hwn yr oedd mynedfa i'r ystafelloedd oeddynt yn amgylchu y Cyssegr ar y gogledd, y gorllewin, a'r de. Dywedir fod 30 o'r rhai hyn ynglŷn â Theml Solomon—felly yn ol tystiolaeth Josephus, a chawn fod eu nifer ynglŷn â Theml Herod yn 38. Yr oedd tair rhes o honynt—y naill uwchben y llall, o bobtu'r Cyssegr—pump ymhob rhes, ac yr oedd yr wyth gweddill yn y cefn ac ar y nèn. O bobtu'r ystafelloedd hyn drachefn yr oedd grisiau a llwybrau yn arwain i'r ystafelloedd uchaf. Nid oedd mynedfa o gwbl o'r ystafelloedd i'r Lle Sanctaidd ond trwy y drws oedd yn y porth. Yn awr ni a welwn fod y Lle Sanctaidd yn cael ei amgylchu gan dri o furiau—a phob un o honynt yn bum cufydd o drwch, sef y mûr rhwng y Lle Sanctaidd a'r ystafelloedd, y mûr rhwng yr ystafelloedd a'r llwybrau a arweinient iddynt, a'r mûr allanol. Dyma ynte, o leiaf, le cadarn, dyma benderfyniad i wneud y lle eithriadol sanctaidd yn lle o gadernid eithriadol hefyd.

Mae genym yn awr i geisio desgrifio y *Cyssegr*. Un fynedfa oedd iddo, ac ar hono yr oedd drws a gwahan-len. Nid oedd ffenestr o gwbl, a dibynid am oleuni ar y disgleirdeb euraidd a ddeilliai oddiwrth yr adeilad ei hun ynghyda'i ddodrefn. Rhennid y Cyssegr yn ddwy ran fel hyn—y Lle Sanctaidd yn 40 x 20 cufydd, a'r Lle Sancteiddiolaf yn 20 x 20 cufydd. Yn y Lle Sanctaidd yr oedd y Canhwyllbren aur ynghyda Bwrdd y Bara gosod, ac Allor yr Arogldarth, a hwythau hefyd wedi eu gwneud o aur. Rhwng y Lle Sanctaidd a'r Lle Sancteiddiolaf arferir dysgu a chredu fod "gwahanlen." Yn y Tabernacl yr oedd hono yn "wahanlen o sidan glas, a phorphor, ac ysgarlad, a llian main cyfrodedd," Ex. xxxvi. 35. Yn y Deml un Fabilonaidd ydoedd, gyda lliwiau cyfoethog, ac o wneuthuriad ardderchog. Sylwyd eisoes fod yn Nheml Herod wahanlen yn agos i ddrws y Cyssegr, ac enw Philo ar hono yw *Kalumma*. Ymddengys ei fod yn gwestiwn a oedd *dwy* wahanlen arall yn gwahanu rhwng y Lle Sanctaidd a'r Lle Sancteiddiolaf. Yn ol y beirniad Talmudaidd Lightfoot yr oedd dwy, gyda rhyw gufydd o bellder rhyngddynt. Sicrhai hyn nas gallasai neb weled i mewn i'r Lle Sancteiddiolaf pan elai'r Archoffeiriad i mewn iddo, oblegid elai trwy y llen gyntaf mewn un pen a thrwy y llall yn y pen cyferbyniol. Yr enw ar y llen fwyaf mewnol oedd y *Parocheth*, yr hon oedd yn llen drom ac addurnedig odiaeth. Rhwygwyd hi yn ddwy adeg

y Croeshoeliad, fel y desgrifir gan Matthew, Marc a Luc, ac yn ol y cyfeiriad yn Heb. vi. 19, ix. 3, x. 19, 20. Arferid adnewyddu llenni y Deml yn rheolaidd, ac yr oedd, fel y dywedir, agorfa yn nen y Lle Sancteiddiolaf trwy ba un y gollyngid offeiriad i lawr i lanhau y lle hwnnw. Ar un adeg yn y flwyddyn yn unig yr elai yr Archoffeiriad i mewn i'r Cyssegr Sancteiddiolaf, sef ar Ddydd y Cymmod yn ystod Gwyl y Pebyll.[1] Y pryd hynny elai i mewn deirgwaith—y tro cyntaf gyda'r arogldarth, yr ail dro gyda gwaed yr ŷch, yr hwn a daenellai unwaith tuag i fyny a seithwaith tuag i lawr, a'r drydedd waith gyda gwaed yr afr offrymmedig. Dychwelai bob tro yn ngŵysg ei gefn a chan weddïo. Ar ol cwblhau hyn arweinid yr afr ddihangol drwy y cynteddau allan i'r mynydd-oedd, chwe' milldir o Jerusalem, ac yna gollyngid hi'n rhydd, a chyda hynny diweddai seremoni bwysig Dydd y Cymmod. Fel y sylwyd eisoes, ystafell wâg ydoedd y Cyssegr Sancteiddiolaf yn Nheml Herod. Nid oedd yno ond yr hyn a elwir yn "Graig y Sylfaen" (Stone of Foundation), ac y mae'n eithaf tebygol mai y Graig Sanctaidd (Sakhrah) a welir ar Faes y Deml yn awr ydoedd hono.

Ym mhen gogleddol maes y Deml yr oedd Antonia, yr hwn a wasanaethai er amddiffyn y Deml. Safai, fel y dengys y graig yn awr, ar lefel ag oedd 20 troedfedd yn uwch na'r Sakhrah. Amgylchid y Deml ar bob tu, oddigerth y gogledd, gan ddyffrynoedd dyfnion. Yr oedd angen felly am Antonia yn y pen gogleddol, ac er gwneud yr amddiffynfa hon yn ddyogelach yr oedd ffôs ddofn wedi ei gwneud rhwng Antonia a bryn Bezetha. Mae olion y ffôs i'w cael yn awr. Pan gymmerwyd Antonia gan y Rhufeiniaid yr oedd y Deml yn eu meddiant mewn canlyniad. Priodol felly y dywedai Josephus fod Antonia yn amddiffyn y Deml, a'r Deml yn amddiffyn y ddinas. Ceir mai y lle diweddaf i ildio i'r ymosodiadau wneid o dro i dro ar y ddinas oedd yr amddiffynfa gadarn hon ym mhen gogledd-orllewinol yr Haram. Credir gan lawer mai dyma safle yr hên amddiffynfa a elwid *Acre*. Yr anhawsder i gredu hynny yw y dysgir yn Llyfr y Maccabeaid fod Acre yn sefyll lle y safai hên ddinas Dafydd. Dyma yn sicr safle yr amddiffynfa *Baris*, a godwyd gan Hyrcanus, ac wedi hynny a adnewyddwyd ac a helaethwyd gan Herod Fawr, yr hwn a'i galwodd ar enw ei noddwr Rhufeinig. Acre a Baris oedd y

[1] Y Mishna.

lleoedd diweddaf i syrthio o flaen y gelynion. Pan lwyddodd Herod, mewn undeb â'r Rhufeiniaid, yn 37 C.C., i gymmeryd Baris oddiar yr Iuddewon y llwyddodd i feddiannu y Deml a'r Ddinas. Fel y ceir sylwi etto, rhan o Gastell Antonia, yn ol fel y credir gan lawer, ydoedd y *Dadleudy* lle y condemniwyd yr Iesu. Mae rhan o adeiladau Antonia ar eu traed yn awr, a'r lle o hyd yn cael ei ddefnyddio fel gwersyllfa filwrol, ond mai milwyr Tyrcaidd sydd yno yn awr, tra mai rhai Rhufeinig oedd yno yn amser yr Iesu.

## EGLURHAD AR Y CYNLLUN O'R DEML.

Cawsom drafferth i wneud cynllun boddhaol o'r Deml a'i mhaes, yr hyn a gynrychiolir gan yr Haram bresennol. Barnasom yn ddoeth wneud y Deml ei hun yn fwy yn y Cynllun na'r hyn ddylai fod yn ol y *scale*, a hynny er mwyn gallu nodi ynddo y gwahanol rannau a berthynai iddi. Ni ddylai hyn gamarwain neb, gan y rhoddir yn y llyfr ei gwir faintioli, ynghyda maintioli y gwahanol gynteddau, &c.

Sylwer ar y *Muriau*, ac fe welir eu bod yn briodol fel hyn—

(a) Y mûr allanol, yr hwn a gynrychiolir gan fûr presennol yr Haram.

(b) Mûr y Soreg, gyda 13 o fynedfeydd drwyddo.

(c) Y mûr o amgylch cynteddau cyssegredig y Deml, gyda thri phorth i fyned drwyddo i Gyntedd y Gwragedd, a chwe' phorth i fyned drwyddo i Gyntedd yr Offeiriaid. Drwy Borth Nicanor yr oedd y fynedfa i Gyntedd yr Israel.

(d) Muriau y Deml ei hunan, y rhai oeddynt yn ddwbl ac yn drebl.

Sylwer ar y *Rhodfeydd*. Mae'r cynllun yn dangos fod y colofnau yn lluosog, ond yr oeddynt yn llawer mwy lluosog nag y danghosir hwy.

Sylwer ar y gwahanol *Gynteddau*, a gwelir eu bod fel hyn—

1. Y Cyntedd Allanol. (a) Cyntedd y Cenhedloedd. (b) Y Chel, neu Gyntedd yr Iuddewon. 2. Cyntedd y Gwragedd. 3. Cyntedd yr Israel, neu Gyntedd y rhai pur. 4. Cyntedd yr Offeiriaid, neu Gyntedd yr Allor. Sylwer fod y ffigyrau ddefn-

yddir, 2414—2460, yn dynodi, mewn troedfeddi, wahanol lyfelydd y graig. Mae'r ffigyrau eraill ddefnyddir yn dynodi fel a ganlyn:—

1. Y Lle Sancteiddiolaf.
2. Y Lle Sanctaidd.
3. Yr Ystafelloedd oedd o amgylch y Cyssegr, yn 38 o nifer.
4. Y Grisiau a'r Llwybrau arweinient i'r ystafelloedd uchaf.
5. Yr Esgynfa a arweiniai at yr Allor.
6. Ystafell y tanwydd.
7. Ystafell lle y codid dwfr o ffynnon ddofn. Credir mai Porth y dwfr yw yr un sydd wrth ei hymyl. Mae olion pydew pwysig yn bod yn y fan hon.
8. Gazith—ystafell y cerryg nâdd. Dyma ystafell y Sanhedrin. Os dygwyd yr Iesu o flaen y Sanhedrin yn y Deml foreu'r Croes-hoeliad, i'r ystafell hon y dygwyd Ef.
9. Ystafell yr halen.
10. Parvah.
11. Ystafell y golchi.
12. Ystafell yr Oen—lle y cedwid yr offrwm yn barod.
13. Moked. Yma yr oedd y gwylwyr o offeiriaid yn gwylied y tân, ac yn gwylied y Deml yn gyffredinol.
14. Porth Nicanor.
15. Cyntedd agored y Gwahangleifion.
16. Cyntedd agored y Nazareaid.

## MAES Y DEML AR HYN O BRYD.

### *Yr Haram.*

Ar ol sylwi fel hyn yn helaeth ar y Deml, gan olygu wrth hynny y tair teml fu'n sefyll ar yr un safle ac o fewn yr un maes cyssegredig, ni a sylwn yn awr ar y maes hwnnw—"Maes y Deml," fel y gelwir ef, er nad oes dim o'r Deml yn aros, o leiaf ar wyneb y maes. Maintioli'r maes, yr hwn sydd gauedig gan furiau, yw 36 o erwau. Yr enw cyffredin ar y maes pwysig ac enwog hwn yw *Haram*, neu yn fwy llawn, *Haram-es-shareef*. Yr ydym i wahaniaethu rhwng muriau'r Haram a muriau'r Ddinas. Gwir fod mûr dwyreiniol yr Haram yn gwasanaethu hefyd yn y fan hono fel mûr y Ddinas, ond ym mhob man arall y mae muriau'r Haram y tu mewn i furiau'r Ddinas, a chynhwysir gan y rhai cyntaf tua'r chweched ran o'r hyn gynhwysir gan y rhai diweddaf.

Heb ganiattad oddiwrth yr awdurdodau nid yw nac Iuddew na Christion i gael eu traed o fewn y maes, ac anfynnych y ceisia y cyntaf y cyfryw ganiattad. Hanner can mlynedd yn ol ni roddid i'r naill na'r llall ganiattad o gwbl, a byddai yn berygl bywyd iddynt anturio myned. Y pryd hynny nid oedd trwydded (firman) oddiar law hyd yn nod y Sultan ei hun yn ddigon i sicrhau i ddieithr-ddyn ymweliad dyogel â'r maes. Yn y flwyddyn 1847, bu ymddiddan fel hyn rhwng Ewropead ac un o'r swyddogion Mahometanaidd:—"Pe dygwn i, neu ryw un tebyg i mi, awdurdod oddiwrth y Sultan, a fyddai i hynny sicrhau y cawn fynediad i mewn?" Attebiad y swyddog oedd: "Os byddai i hynny sicrhau mynediad i mewn na byddai iddo sicrhau dyfodiad allan yn fyw." Y pryd hynny rhaid oedd i'r "cwn" o Gristionogion foddloni ar edrych ar y maes oddi draw. Ond er's amser bellach mae'r ffordd yn glir i ddieithriaid ond talu y dreth a chydymffurfio â'r rheolau a'r seremonïau. Rhaid i ymwelydd gael llythyr oddiwrth lysgenhadwr (consul) ei wlad at Lywodraethwr Jerusalem. Os bydd hwnnw yn foddhaol anfona y Llywodraethwr un o'i wyliedyddion, a chyda'r gwyliedydd bydd un o'r milwyr Tyrcaidd, ac yn ngofal y ddau hyn yn unig y gall person neu gwmni o bersonau ymweled â'r tir cyssegredig. Wrth y fynedfa i'r maes, fel hefyd wrth bob mynedfa i addoldai Mahometanaidd, rhaid yw myned trwy'r seremoni ganlynol—naill ai diosg yr esgidiau oddiam y traed a dodi yslopanau (slippers) yn eu lle, neu adael yr esgidiau a dodi yslopanau drostynt. Mae hyn yn beth mor bwysig a chael yr awdurdod gan y Llywodraethwr, os nad yn fwy felly. Caniatteir i rai adael y wisg am y pen; ïe, chwarddant at ein gwaith ni fel addolwyr yn symmud y penwisg ac yn gadael yr esgidiau. Nid yw y penwisg, meddant, yn cyffwrdd âg un rhan o'r adeilad—ei nèn na'i lawr, fel ag i'w halogi, ond y mae'r esgidiau. Eithaf anolygus a budr yw yr yslopanau a ddodir am yr esgidiau, ond y mae yno lu o wyliedyddion i ofalu na bydd i esgid dyn gyffwrdd â'n llawr. Yn ein parti ni yr oedd meddyg Americanaidd, ac yr oedd hwnnw, gydag ysbryd anturiaethus ei wlad, fel wedi penderfynu mynnu ymweled â'r tir cyssegredig heb wisgo'r yslopanau. Fe lwyddodd hefyd drwy'r cynllun yma. Yr oedd wedi gosod *galoe-shoes* am ei esgidiau, a phan ddaeth at y fynedfa tynnodd ei *galoe-shoes*, dododd hwy dan ei gesail a chychwynodd ymlaen yn ei esgidiau. Amlwg ydoedd oddiwrth edrychiadau y gwyliedyddion fod hyn yn beth hollol ddieithr iddynt. Fel rhai wedi eu dal gan syndod ac yn methu dyfalu beth i'w wneud, edrychent



From "*Jerusalem the Holy.*" Copyright, 1898, by FLEMING H. REVELL COMPANY.

ADEILAD CROMENOG Y GRAIG SANCTAIDD.

ar y dyn ac edrychent ar eu gilydd; ond yn y diwedd gadawyd i'r meddyg Americanaidd i dorri deddf nad oedd, feallai, sôn am neb, bonedd na gwreng, brenhin, na chardottyn wedi ei thorri o'r blaen. Dymunol iawn yw ymweled â'r maes cyssegredig hwn ar fynydd Moriah, oblegid yma yr ydym ar dir diammheuol sanctaidd, sef ar y maes lle y safai temlau Solomon, Zorobabel a Herod, yr hwn faes o ganlyniad a ystyrir yn gyssegredig gan Iuddewon, Mahometaniaid a Christionogion o bob plaid. Tra y mae cymmaint o'r lleoedd sanctaidd â rhyw ansicrwydd yn bodoli yn eu cylch, dymunol yw cael lle fel hwn heb ansicrwydd yn ei gylch o gwbl. Gwelir beth yw ffurf yr Haram oddiwrth y mapiau sydd gennym yn y llyfr hwn.

Tua chanol yr Haram, ac yn sefyll ar y llecyn uchaf ar y maes y mae'r adeilad pwysicaf sydd yno. I ni ychwanegir at bwysigrwydd yr adeilad hwn drwy ein bod yn credu ei fod yn sefyll lle y safai y temlau. Yr enw cyffredin ar yr adeilad yma, darlun rhagorol o ba un a roddir yn y llyfr hwn, yw *Mosc Omar.* Mosc yw yr enw sydd gan Fahometaniaid ar deml neu addoldy, ac Omar oedd y trydydd arweinydd fu gan y Mahometaniaid, y nesaf ond un at Mohamed ei hunan, ac iddo ef y perthyn yr enw o ddwyn Palestina dan iau Mahometaniaeth. Mewn camgymmeriad, er hynny, y mae'r adeilad hwn yn cael ei alw yn Mosc Omar; oblegid mae'r Mosc Omar gwirioneddol mewn man arall o fewn yr Haram. Enwau mwy priodol ar yr adeilad dan sylw ydynt *Kubbet-es-Sakhrah, Dome of the Rock,* adeilad cromenog y graig sanctaidd. O ran ffurf, cromen (dome) yw ei nen, ac wythonglog yw ei ochrau. Mae iddo bedwar drws—un yn cyfeirio at bob pegwn. Mesura pob un o'i wyth ochr 66 troedfedd, ac y mae yn 152 troedfedd ar ei draws. Dadleua[1] Mr. Fergusson mai hwn yw y Basilica godwyd gan Cystenyn Fawr, tra y sonia rhai o'r Crwysgadwyr am gerf-ysgrifau arno yn dangos iddo gael ei godi gan Omar. Ond y farn gyffredin yw iddo gael ei godi gyntaf oll gan Abd-el-Melik, ac i hwnnw gael arch-adeiladydd Bisantaidd i arolygu y gwaith. Mae cerf-ysgrifau i'w cael yn awr ar yr adeilad yn dangos i rannau o hono gael eu gwneud yn y blynyddoedd 831 a 913 O.C. Ychydig o adeiladau yn y byd sydd

[1] Ydyw, y mae'n wir fod awdurdod mor fawr a Fergusson, tuag 20 mlynedd yn ol, yn dadleu felly; ond fel y sylwa Hilprecht, nid oes neb erbyn heddyw a ammheua mai yr hyn a elwir—neu yn hytrach a gam-enwir—yn Eglwys y Bedd Sanctaidd yw Basilica Cystenyn.—*Hilp*, 598.

yn dangos y fath amrywiaeth mewn arddull, a chyfrifir am hynny pan feddyliom am dano yn gyntaf oll yn adeilad Bisantaidd o eiddo'r Saraceniaid, yna yn d'od i feddiant y Crwysgadwyr yn 1099, ac i feddiant Saladin a'r Mahometaniaid yn ddilynol i hynny. Er mai Saladin y gwych, tua'r flwyddyn 1561 O.C., ddarfu ddwyn yr adeilad i'w ffurf bresennol, mae'n ddiddadl fod y Mosc Mahometanaidd presennol wedi bod, ryw bryd yn ei hanes, yn addoldy Cristionogol. Mae gwychder yr adeilad yn ddiarhebol, ac ofer fydd i ni geisio ei ddesgrifio gan mor wyched ydyw. Yn ol syniad un arch-adeiladydd Prydeinig a'i gwelodd, "hwn yw yr adeilad gwychaf ar wyneb daear." Ond etto rhaid dyweyd fod gogoniant yr adeilad yn prysur ddiflannu, a hynny nid yn gymmaint oblegid henaint ag oblegid diofalwch diarhebol y Mahometaniaid. Y peth mwyaf arbennig y tu mewn i'r addoldy yw y *Graig Sanctaidd*, neu'r *Sakhrah*, fel y gelwir hi.[1] Yn nghanol yr adeilad, ac fel y peth mwyaf amlwg ynddo, y mae talp mawr o graig arw a di-addurn, yn ffurfio cyferbyniad rhyfedd gyda gwychder yr holl adeilad; ac etto rhaid dyweyd mai y graig ddi-addurn yw addurn pennaf y lle. Mae'r graig yn 56 troedfedd mewn hyd, yn 42 troedfedd mewn lled, ac yn codi i uchder o 4½ troedfedd uwchlaw'r llawr. Rhaid hefyd cofio fod y darn craig yma, yn ol rhediad y creigiau, yn sefyll ar bwynt uchaf Mynydd Moriah. Ac ah! beth pe gallasai lefaru am yr hyn gymmerodd le ynglŷn â hi erioed! Dechreua hanes grynhoi o'i chwmpas er amser Abraham a Melchisedec. Credir mai ar y graig hon—pwynt uchaf mynydd Moriah—y cyflwynodd Melchisedec roddion i Abraham, Gen. xiv. 18; mai arni hi y gosodwyd Isaac i'w offrymmu gan ei dad; mai hi sydd yn dynodi man llawr-dyrnu Ornan, lle a nodwyd i Dafydd offrymmu arno pan attaliodd yr angel dinystriol ei law yn y ddinas, ac felly y tir a brynwyd gan Dafydd fel safle i'r Deml. Mae rhai awdurdodau yn credu fod Cyssegr Sancteiddiolaf y tair teml yn sefyll ar y graig hon, ac fel hyn cyfrifant am yr enw sydd arni. Mae awdurdodau eraill yn deall mai allor y poeth-offrwm, yr hon a safai o flaen y fynedfa i'r Deml, oedd yn bod ar y graig arbennig hon; ac os felly, cawn mai arni hi, am oesoedd lawer, y bu'r aberthu mwyaf fu ar y ddaear erioed. Hawdd fyddai i ni gael ein perswadio fod llawer

[1] Sonia y Talmud am "graig y sylfaen" (eben hash-Shethiyah), yr hon oedd o dan y Sancteiddiolaf ac yn sylfaen yr holl fyd, yn ogystal ag yn gauad ar y gagendor obry.

o ôl tân i'w weled ar y graig, a chael ein dwyn i farnu a chredu mai ôl y tân Dwyfol fu'n llosgi yno am ganrifoedd ydyw. Trwy ganol y graig mae agorfa ddigon o faint i ddyn fyned trwyddi. Arweinia'r agorfa i ogof sydd dan y graig. Yn yr ogof honno danghosir allorau Abraham, Dafydd, Solomon a'r Sant Sior, a dywedir eu bod yn dynodi y lleoedd yr arferai y pedwar hyn addoli. Nis gall neb fyned i'r ogof hon heb ddeall fod ogof arall o dani hithau. Yr enw sydd gan y Mahometaniaid ar yr ogof isaf yma yw *Ffynnon yr Ysbrydion* (The Well of the Spirits). Mae hon yn ogof fawr iawn, ac i bob tebyg yn arwain i'r afon Cedron yn y dyffryn islaw, a barna amryw mai trwy y twll yn y graig a thrwy y ddwy ogof sydd dan y graig y rhedai'r afonydd o waed yr ebyrth ac o ddwfr ddefnyddid ynglŷn â'r lluaws olchiadau. Yn ngwyneb y cwbl y mae craig y Sakhrah yn wrthrych anghyffredin o ddyddorol. Cyhyd ag nad oes ammheuaeth ynghylch llawer o'r hanes a ymgyssyllta â'r graig, pa lecyn mwy cyssegredig a dyddorol sydd i'w gael ar wyneb daear? Y tebyg hefyd yw nad oes gan y Mahometaniaid adeilad yn cael ei wylied gyda mwy o eiddigedd sanctaidd na Mosc y graig. Credant i Mohamed fod yn gweddïo wrth ymyl y graig, a'i fod o'r pwys mwyaf iddynt hwythau wneud yr un peth, gan fod un weddi yn y fan hon yn well na mil mewn unrhyw fan arall. Deallant mai oddiar y graig hon yr esgynodd eu prophwyd i ogoniant, ac hefyd ddarfod i'r graig esgyn beth ffordd gydag ef, fel mai hongian yn yr awyr y mae y graig byth er hynny. Canfyddant ôl ei droed ar y graig, a chadwant yno un o wallt ei ben. Canfyddant hefyd ar y graig ôl llaw Gabriel yn attal rhag i'r graig ddilyn y prophwyd i Ogoniant. Dysgant ymhellach y bydd i'r llecyn hwn dd'od yn un pwysig anarferol yn y dydd a ddaw, oblegid uwch ben y graig hon y cân yr udgorn diweddaf, ac arni hi y gesyd Duw ei orseddfainc.

O fewn yr Haram y mae mosc arall heblaw un y graig sanctaidd, sef y *Mosque-el-Aksa*. Eglwys Gristionogol wedi ei hadeiladu gan yr Ymherawdwr Justinian yn y 6ed ganrif, ac er anrhydedd i Mair y Forwyn, oedd hon ar y dechreu. Pan ddarostyngwyd Jerusalem yn 636 O.C., ymgymmerodd Omar â chodi addoldy i Fahometaniaid ar Fynydd Moriah. Cynghorwyd ef gan Iuddew i'w adeiladu y tu ol i'r graig, fel y byddai i'r addoliad gyflwynid gan Fahometaniaid ymddangos fel yn esgyn o'r un man a'r addoliad gyflwynasid gan ddilynwyr Moses, ond, fel y

dysgir, petrusodd Omar weithredu yn ol y cyfarwyddyd, gan farnu mai teimlad Iuddewaidd oedd yn ysgogi y gŵr i'w roddi. Dewisodd yn hytrach droi hên eglwys Justinian yn fosc, neu godi un arall wrth ei hymyl. O leiaf, y mae yr hyn a adnabyddir fel y gwir Fosc Omar—yn ffurfio rhan o hên addoldy Justinian, ac o'r hyn a elwir yn awr yn Mosque-el-Aksa, yr hon sydd ym mhen deheuol y maes. Golyga el-Aksa y pellennig, a chredir fod yr adeilad wedi derbyn yr enw oddiwrth frawddeg yn y Koran, lle y moliennir Duw am iddo yn y nos gludo ei was Mohamed o *mesjid-el-Haram* i *mesjid-el-aksa*, hynny yw, o'r lle cyssegredig i addoli oedd ym Mecca i'r lle pellennig i addoli oedd ar Moriah. Fel y sylwyd, eglwys Gristionogol a Phabyddol oedd yr Aksa ar y cyntaf, ac y mae rhai rhannau o'r adeilad yn dwyn tystiolaeth i'r ffaith honno. Credir fod darnau o Deml Herod, ac hyd yn nod o Deml Solomon, wedi eu defnyddio wrth ei hadeiladu. Mewn ystyr swyddogol y mae'r mosc Aksa yn bwysicach yn nghyfrif Mahometaniaid na mosc y graig. Fel y *Lateran* yn Rhufain, yr hon yw yr eglwys swyddogol, er mai ail ydyw ar lawer cyfrif i Eglwys Sant Pedr. Pob prydnawn Gwener (Sabbath y Mahometaniaid) y mae Llywodraethwr Jerusalem yn ymweled yn swyddogol â'r mosc Aksa ar yr un adeg ag yr ymwela y Sultan â'i fosc yn Nghaercystenyn, a'r adeg y mae y ffyddloniaid ym Mecca ac ym mhob man arall yn ymgynnull at brif wasanaeth eu Sabbath fel Mahometaniaid.

Mae un neu ddau o bethau digrifol yn wrthrychau sylw yn yr el-Aksa. Mae yno ddwy golofn a lle pur gûl rhyngddynt, ac y mae'n grediniaeth ymysg y Mahometaniaid nad oes gobaith i un allu myned i Baradwys os nad all ymwthio trwy y lle cyfyng rhwng y ddwy golofn hyn. O ganlyniad llawer ymdrechfa ddifrifol sydd wedi bod yn fan hon, nes y mae ôl hynny ar y colofnau. Buasai yn haws myned rhyngddynt yn awr nag y mae wedi bod, oblegid y mae rhan helaeth o'r meini ithfaen wedi eu gwisgo ymaith. Dywedir, yn wir, i aml un golli ei fywyd yn y fan hon wrth geisio prawf fod iddo fynediad i'r Bywyd. Oblegid ryw reswm neu gilydd, oblegid, ni a obeithiwn, fod ofergoeledd yn darfod o'r byd, y mae terfyn er's tro wedi ei roddi ar yr arferiad ynfyd o ymwthio rhwng y colofnau. Peth arall yn yr el-Aksa yw darn o garreg ddu ar y mûr, at yr hon yr arferai'r addolwyr gyrchu a'u llygaid yn gauedig, er mwyn trwy hyn etto gael prawf a allent gyfeirio eu ffordd i Wynfa. Cawn etto sylwi ar arferiad

lawn mor ynfyd yn nes attom, sef yr arferiad yn Rhufain ynglŷn â'r *Scala Santa*. Adnabyddir un rhan o adeiladau yr *el-Aksa* fel *Palas Solomon* (palatium Solomonis). Yn amser y Crwysgadwyr preswylid y rhan yma gan urdd o Gristionogion o'r enw y *Knight Templars*. Tybia rhai fod "esgynfa" enwog Solomon i'w chael yn y fan hon, ac nid yw hynny yn ammhosibl.[1]

Ar faes y Deml y mae amryw ffynhonau. Y rheol yw nad oes mosc Fahometanaidd i'w chael heb fod ffynnon yn ei chyntedd, wrth yr hon y gall y bobl ymolchi cyn myned i addoli. Cred y bobl hyn nid yn unig fod glendid y nesaf peth at dduwioldeb, ond fod glendid a duwioldeb yn rhwym o fod gyda'u gilydd.

Heblaw y ddau brif adeilad ar faes y Deml y mae nifer o fân adeiladau. Lleoedd i weddïo yw y rhai hynny, ac fe'u gelwir yn *Mastaba*. Yn yr addoldai bach hyn, fel hefyd yn y rhai mwyaf, y mae rhywbeth, megys agorfa fechan yn y mûr, neu lech ag arni yn ysgrifenedig frawddeg o'r Koran, neu rywbeth o'r fath, yn gwasanaethu i'r diben o ddangos i'r addolydd ymha gyfeiriad y mae Mecca. Rhyfedd yr amrywiaeth ymysg addolwyr! Myn yr Iuddew gyfeirio ei hunan a'i addoliad tua'r lle cyssegredig ar Moriah; gofala y Mahometan, hyd yn nod oddíar Moriah, am gyfeirio ei hun tua'r lle cyssegredig ym Mecca—oblegid iddo ef ail yw Moriah i Mecca; a rhaid i'r Defodwyr Cristionogol gael efelychu y rhai hyn, a hynny, er fod ganddynt ddysgeidiaeth eglur yr Athraw mawr wrth ffynnon Jacob! Un o'r addoldai bychain ar faes y Deml yw yr un a adnabyddir fel *Gorsedd Solomon*. Cyssylltiad yr addoldy hwn â Solomon yw mai yn y fan hon y bu'r brenhin hwnnw farw ac yntau ar ei orsedd ar y pryd. Gerllaw hefyd nodir lle ei fedd. Dyma, o ganlyniad, i'r Mahometaniaid ddigon o reswm dros wneud y lle yn fan gweddi, oblegid y mae unrhyw fan, unrhyw adeilad neu goeden, dyweder, sydd yn cyssylltu rhai â sant ymadawedig, yn nodi lleoedd y teimla'r Mahometaniaid yn briodol addoli ynddynt. Pan ddeuant at y cyfryw leoedd y maent am i'r sant eu hadnabod fel gweddïwyr. Pan fyddont hefyd yn absennol eu hunain y maent am i rywbeth fod yno i'w cynrychioli. Torrant ddarn o ddilledyn o'u heiddo a chylymmant ef wrth ddôr, neu ffenestr,

[1] Cyfeirir at yr esgynfa yn 1 Bren. x. 5, a 2 Chron. ix. 4. Yr ydym eisoes wedi sylwi mai ar Ophel, i'r de o'r Deml, yr oedd Palas Solomon, ac yma felly yr oedd yr esgynfa.

neu ryw ran arall o'r adeilad, neu wrth y goeden. Peth cyffredin yw gweled bedd-golofn neu goeden yn orchuddedig gan garpiau yn cynrychioli yr addolwyr absennol. Dyma sydd yn wir am Orsedd Solomon yn ogystal ag amryw wrthrychau eraill yn yr Haram.

Ar ochr orllewinol yr Haram, heb fod ymhell oddiwrth Antonia, y mae yr hên *Serai*,[1] yn cael ei ddefnyddio ar hyn o bryd fel carchar y wlad.

Ar ochr ddwyreiniol yr Haram y mae y *Porth Euraidd*, neu y *Bab-el-Daheriyeh*. Derbyniodd ei enw, naill ai am fod ei furiau yn orchuddedig gan aur, neu am fod y cyfnewidwyr arian yn cario ymlaen eu masnach o'i fewn. Yn sicr, nid yr un ydyw a'r Porth Prydferth y cyfeirir atto yn Act. iii. 2; oblegid cafodd hwnnw ei lwyr ddinystrio gan Titus adeg Dinystr Jerusalem. Adeiladwyd y Porth Euraidd yn y 5ed ganrif.[2] Yn adeg y Crwys-gadwyr arferid yn flynyddol gael diwrnod er dathlu, gyda rhialtwch mawr, waith yr Iesu yn marchogaeth i Jerusalem, drwy i dorf anferth dd'od dros yr Olewydd a myned i'r ddinas trwy y porth hwn. Ond wedi i'r Cristionogion gael eu gorchfygu gan Saladin cauwyd y porth i fyny, a chauedig yw hyd heddyw. Gwylir ef yn ofalus gan y Mahometaniaid, oblegid y credant fod y ddinas i gael ei chymmeryd gan Gristionogion ryw ddydd, ac mai trwy y porth hwn y bydd i'r Tywysog Cristionogol arwain ei fyddin. Ond y mae gan y Mahometaniaid grediniaeth arall—mai yn agos i'r porth hwn y bydd Mohamed y dydd diweddaf yn cyd-eistedd gyda'r Iesu i gyd-farnu y byd. Dywedir fod pont-droed ar un adeg yn croesi y dyffryn o faes y Deml i'r Olewydd. Os felly, rhaid ei bod yn ddychrynllyd o uchel. Golyga y Mahomet-aniaid y bydd y gagendor ddofn hon yn cael ei chroesi Ddydd y Farn gan bont o wifrod teneuon, mwy miniog na'r cleddyf, pryd y gofynir i bawb groesi drosti o'r Olewydd i faes y Deml. Bydd i'r ffyddloniaid lwyddo, ond ni bydd i'r annuwiolion fedru croesi "pont yr ysbrydion" yma, eithr syrthiant oddiarni i waelod dyffryn Cedron, ac oddiyno fe egyr uffern i'w llyngcu iddi ei hun.

[1] Ymddengys y defnyddir yr enw ar lys yn ogystal ag ar garchar.

[2] Yn y Cynllun o'r Deml, tud. 66, nodwn safle y Porth Euraidd. Yr oedd yn adeg yr Iesu borth yn y fan yna, beth bynnag oedd ei enw.

Nid ar wyneb y tir cyssegredig yn unig y mae pethau o ddyddordeb. Mae pethau felly o dan y wyneb. Un peth ydyw yr hyn a elwir yn *Ystablau Solomon*. Dywed yr Arabiaid mai y demoniaid, o angenrheidrwydd, a wnaeth yr ystafelloedd mawreddog tanddaearol hyn. Mesurant 91 llath o hŷd a 66 llath o lêd. Mae ynddynt 88 o golofnau anferth yn 12 rhes, ac ystafelloedd eang rhwng y rhesi. Os buont ar ryw adeg yn cael eu defnyddio fel ystablau, yr oedd ynddynt le rhagorol i ganoedd o geffylau; ond nid yn amser Solomon, y mae'n debyg, y bu hynny, eithr yn ddiweddarach. Adeg Dinystr Jerusalem yr oedd canoedd o'r trigolion wedi myned i'r ystafelloedd hyn i ymguddio, ac yma y bu llawer o honynt feirw.

Peth arall sydd i'w gael latheni lawer dan wyneb y tir yw y *Porth Dwbl* neu'r *Huldah*. Cydnabydda pawb fod hwn, yn ddios, yn un o olion Teml Herod, hynny yw, ei fod yn Borth a arweiniai at y Deml honno. Mae yn parhau yn ei le yn awr, ac yn lled gyflawn, ond fod y Mahometaniaid wedi ynfydu trwy wyn-galchu ei feini gogoneddus. Trwy y porth hwn, yn ddiau, yr aeth miloedd Israel i'r Deml, ac yn eu mysg, gellir credu, yr Athraw mawr lawer gwaith.

Peth hynod a henafol iawn o dan faes y Deml yw y *Dyfrgistiau* helaeth sydd yno. Mae un o honynt ar gyfrif ei helaethrwydd yn cael ei alw yn *Fôr mawr*. Mesura 738 troedfedd o amgylchedd, ac y mae yn 40 troedfedd o ddyfnder. Cludid dwfr i un o honynt ar hyd dyfr-ffosydd yr holl ffordd o Lynnoedd Solomon. Dibynir yn awr, yn bennaf, ar wlawogydd y gauaf. Darganfyddodd Syr Charles Warren dan-ffordd fawr, yr hon a wasanaethai, fel y credir, er cludo y dwfr oedd dros ben, ynghyda'r dwfr budr o'r Haram, i ddyffryn y Cedron. Dilynodd Warren y dan-ffordd hon am dros 400 troedfedd, a'r enw oedd gan y gweithwyr arni oedd y Pwll diwaelod. Credir pe caniattai y Sultan i gloddio helaeth gael ei wneud o dan wyneb tir yr Haram y gwneid darganfyddiadau pwysig eraill. Y mae'r ychydig gloddio a wnaed wedi dwyn i'r golwg feini mwy a darnau o furiau llawer pwysicach na dim sydd i'w cael ar y wyneb.

Bu'r Iesu lawer o weithiau ar faes y Deml. Bu yn y Deml droion yn addoli pan yn llangc, a thrachefn, yn ystod ei fywyd cyhoeddus, bu yno amryw weithiau yn athrawiaethu, ac er mor

fawreddog yr ymddanghosai yr adeilad y pryd hynny, y mae ei brophwydoliaeth Ef wedi ei chyflawn wirio er's llawer dydd —" dy elynion a'th wnant yn gydwastad â'r llawr . . . ac ni adawant ynot faen ar faen; oherwydd nad adnabuost amser dy ymweliad."—Luc xix.



## LLE'R WYLOFAIN.

Un o'r lleoedd mwyaf dyddorol heddyw yn hên ddinas yr Iuddew ydyw y *Kauthal ma' arbe* (lle y wylofain). Llwybr cûl ydyw hwn tua 150 troedfedd o hŷd a 15 troedfedd o lêd. Rhêd y llwybr gyda mûr gorllewinol Maes y Deml, ac y mae'r mûr hwnnw yn y fan hon yn codi i uchder o 56 troedfedd. Ceir fod y naw rhes isaf o feini yn feini mawr a diammheuol hên. Tystia amryw awdurdodau eu bod yn perthyn i'r mûr oedd o gwmpas Teml Solomon, a'u bod yn eu lle fel y maent yn awr er adeg Teml Herod. Dyna syniad Syr Charles Wilson ac eraill am danynt. Mae hŷd rhai o'r meini yn 16 troedfedd, ac y mae'r gwaith sydd arnynt yn profi eu bod yn perthyn i'r cyfnod Iuddewig. Yn y fan hon y cloddiodd Syr Charles Warren i lawr nes cyrhaedd gwaelod y mûr, yr hwn sydd 80 troedfedd islaw'r wyneb, ac y cafodd fod y mûr islaw'r wyneb yn cynnwys yr un math o feini a'r rhai sydd yn y naw rhes gyntaf uwchlaw'r wyneb. Creda yr Iuddewon fod y darn mûr sydd ganddynt yn "Lle'r Wylofain" yn golygu y rhan hwnnw o'r mûr a safai agosaf at y Deml ei hun, yr hyn sydd iddynt hwy yn ychwanegu at werth a chyssegredigrwydd y darn mûr. Dechreua y Sabbath Iuddewig tuag adeg machlud Haul prydnawn Dydd Gwener; a'r adeg i gael gweled a chlywed yr wylofain ydyw y prydnawn hwnnw ar ol pedwar o'r gloch, neu yn ystod un o'r Gwyliau Iuddewig. Mae'r adegau hyn yn rhai y mae'r Sultan wedi rhoddi caniattad i'r Iuddewon ymgynnull wrth y mûr, ac nid ydynt hwythau yn fyr o fawrhau y fraint. Ymddengys ddarfod i'r wylofain hwn o eiddo'r Iuddewon ar ol eu Teml ddechreu ymhen ryw hanner can-mlynedd ar ol Dinystr Jerusalem, sef yr adeg y daethant i ddechreu cartrefu eilwaith yn y ddinas. Ond nid hir y caniattawyd hyn, oblegid yn amser Hadrian alltudiwyd pob Iuddew allan o'r ddinas. Bu'r ddinas yn un nad oedd caniattad i Iuddew ddyfod yn agos iddi hyd tua chanol y bedwaredd ganrif, sef yr adeg yr oedd yr ymherawdwr Cristionogol Cystenyn mewn awdurdod. O dan Cystenyn caniatteid i'r Iuddewon fyw yn nghymmydogaeth y ddinas ac hefyd unwaith yn y flwyddyn i ymweled â maes y Deml i eneinio "y maen tyllog" (lapis pertusus),[1] wrth yr hwn,

[1] **Wrth y "lapis pertusus"** *yr ydym,* **mae'n ddiau, i ddeall y Graig Sanctaidd sydd o hyd ar Moriah.**

fel y dywed hên awdwr—"y galarnadent, y gruddfanent ac y rhwygent eu dillad." Cawn Jerome, yr hwn ar y pryd, sef tua 400 O.C., a breswyliai ym Methlehem, wrth wneud sylwadau esboniadol ar y gair—"yno y bloeddia y dewr yn chwerw"[1]—yn desgrifio y torfeydd o Iuddewon yn ymgasglu i faes y Deml i wylofain. Yn 637 O.C. meddiannwyd y maes gan Omar a'r Mahometaniaid, ac, hyd yr ymddengys, y tu allan i'r maes y mae'r Iuddewon wedi bod byth er hynny. Am 12½ canrif maent wedi gorfod boddloni ar gael ymgynnull at y mûr o'r tu allan.

Mae'n werth cael golwg ar y bobl hyn yn d'od ynghyd gyda'r amcan o wylofain. Amrywiant yn fawr mewn ymddanghosiad, yn neullduol felly dau ddosbarth o honynt, sef yr *Iuddewon Ascenasaidd* a'r *Iuddewon Sepharadaidd*, neu Iuddewon yr Almaen ac Iuddewon yr Yspaen. *Ashkenazim* ydoedd enw y Rabbiniaid ar yr Almaen, a *Sepharad* yr enw ar yr Yspaen. O'r Almaen a Poland y mae y rhai blaenaf wedi d'od. O ran eu syniadau a'u harferion crefyddol, hwy, meddir, sydd yn cynrychioli y Phariseaid gynt, ac y maent yn awr yn eithriadol o dywyll eu meddwl, o arw eu hymarweddiad ac o fudr a thlawd eu gwedd a'u hamgylchiadau. Rywfodd maent wedi llwyddo i dd'od i'r Ddinas Sanctaidd i fyw fel y byddo iddynt gael eu claddu dan gysgod y Deml yn Nyffryn Jehosophat. Dibynant i raddau helaeth am gynhaliaeth ar garedigrwydd gwŷr fel Syr Moses Montefiore ac Arglwydd Rothschild. Mae'r dosbarth arall, sef y rhai Sepharadaidd yn d'od o'r Yspaen, ac iaith y wlad honno yw eu hiaith gyffredin hwy. Mae'r Sepharadiaid, fel rheol, yn ddysgedig a diwylliedig, ac o ymddanghosiad urddasol. Daliant fod eu hynafiaid hwy wedi ymsefydlu yn yr Yspaen cyn adeg yr Iesu o Nazareth, ac o ganlyniad mynnant eu bod hwy yn glir oddiwrth waed yr Iesu hwnnw.

Bob prydnawn Gwener ymgasgla at y darn mûr dorf yn rhifo, weithiau, amryw ganoedd, yn hên ac ieuaingc, yn wyr a gwragedd, ond fod y gwragedd ar wahân ac yn gydmarol ddistaw; arhosa rhai o'r bobl yno am oriau, mae rhai yn droed-noeth, a'r mwyafrif yn ben-noeth, mae rhai a'u gwallt hîr yn ddigon aflêr, a'u dillad budron yn hollol ddidrefn. Pwysant yn erbyn y mûr, cusanant ei feini, gwthiant bapyrau yn cynnwys deisyfiadau at Dduw i mewn i'w agenau, croch-waeddant weddïau i mewn i'r tyllau geir ynddo; yn y man daw Rabbi ymlaen, ac am amser maith parha

[1]Seph. i. 14.

hwnnw i waeddi â'i holl nerth yn erbyn y mûr gan ei ddulio â'i ddyrnau nes bydd y dyn, o'r diwedd, yn orchuddedig gan chwys, ac wedi llwyr ddiffygio, a'r olwg arno yn resynol odiaeth. Ni raid gofyn a yw yr addolwyr hyn wrth fûr yr hên Deml "yn hoffi ei meini, ac yn tosturio wrth ei llwch."[1] Gyda difrifwch angherddol troant at yr Arglwydd a dywedant—"Y Cenhedloedd, O Dduw, a ddaethant i'th etifeddiaeth; halogasant dy deml sanctaidd: gosodasant Jerusalem yn garneddau. Yr ydym ni yn warthrudd i'n cymmydogion; dirmyg a gwatwargerdd i'r rhai sydd o'n hamgylch. Pa hyd, Arglwydd, a ddigi di yn dragywydd?"[2] Ymbiliant âg ef, a dywedant—"Na ddigia, Arglwydd, yn ddirfawr, ac na chofia anwiredd yn dragywydd: wele, edrych, attolwg, dy bob di ydym ni oll. Dy sanctaidd ddinasoedd sydd anialwch; Sïon sydd yn ddiffaethwch, a Jerusalem yn anghyfannedd. Tŷ ein sancteiddrwydd a'n harddwch ni; lle y moliannai ein tadau dydi; a losgwyd â thân; a'n holl bethau dymunol sydd yn anrhaith. A ymatteli di, Arglwydd, wrth y pethau hyn? a dewi di; ac a gystuddi di ni yn ddirfawr?"[3] Cyd-adroddant y 72 Psalm. Canant dôn gwynfanus ac erfyniadol, yr hon gyfansoddwyd, fel y credir, mor foreu ag amser Ezra, a'r hon, feallai, yw y dernyn cerddorol hynaf yn y byd. Mae geiriau y dôn i'r perwyl yma:—[4]

"Efe sydd fawr, Efe sydd dda,
Ar fyrder adeilada'i Dŷ.
Mewn mawr frys, mewn mawr frys,
Heb oedi yn ein dyddiau ni,
Adeilada, Arglwydd mawr,
Adeilada'th Deml yn awr.

Efe a wared, Efe a wared,
Fe wared ei Israel cyn hir,
Y pryd hwn, O Arglwydd, yn awr
Yn ein dydd hwn, yn ddioed,
Arglwydd, gwared, Arglwydd, gwared,
Gwared dy Israel ar frys.

[1] Ps. cii, 14.

[2] Ps. lxxix. 1, 4, 5.

[3] Esai. lxiv. 9—12.

King's "Recent Discoveries on Temple Hill."

Arglwydd, dychwela, Arglwydd, dychwela,
Dychwela dy bobl ar frys.
O, adfer hwy i'w tir
I'dd eu Salem ar frys.
Dwg yn ol attat Ti, yn ol attat Ti,
At eu Ceidwad ar frys."

Mae ganddynt fath o Litani, tebyg i hyn. Adrodda un o'r Rabbiniaid restr o'u helyntion fel cenedl, ac ar ol pob un o honynt cyd-ddywed y bobl y geiriau—"Eisteddwn mewn unigedd a galarwn." Dyma restr o'r helyntion :—

"Am y lle a orwedd yn anghyfanedd:
Am y lle sydd wedi ei ddinystrio:
Am y muriau sydd wedi eu dymchwelyd:
Am ein gogoniant sydd wedi ymadaw:
Am ein gwroniaid orweddant yn feirw:
Am y meini gwerthfawr sydd gladdedig:
Am yr offeiriaid sydd wedi troseddu:
Am ein brenhinoedd sydd wedi ei amharchu Ef."

Ar ol pob un o'r datganiadau yna gan y Rabbi, daw y byrdwn gan yr holl gynnulleidfa—"Eisteddwn mewn unigedd a galarwn." Nis gall y fath olygfa lai na bod yn darawiadol iawn i bob ymwelydd â'r lle. Fel hyn y dywed Dyfed wrth gyfeirio at yr olygfa :—

"Ond darfu'r mawl, a chiliodd y sancteiddrwydd,
A gwerthwyd lle'r cerubiaid i waradwydd;
Er moroedd dagrau ac ystormydd ochain,
Mae barn y nef yn tyfu'n drwch
Ar feini "Lle'r Wylofain." [1]

[1] *Gwlad yr Addewid.*

## Y PRETORIUM NEU'R DADLEUDY.

Mae ymwelydd â Jerusalem yn rhwym o chwilio am yr ystafell lle y collfarnwyd Tywysog y Bywyd i farwolaeth. *Praitorion* yw y ffurf Roegaidd o'r gair Lladinaidd *prætorium*, yr hwn ddaw o'r gair *prætor*. Defnyddid y gair yn Rhufain am y tri pheth canlynol—*prif-luest* (head-quarters) y Cadfridog; *palas* un o swyddogion y Llywodraeth, a'r *gwarchodlu ymherodrol*. Yn y talaethau drachefn hwn ydoedd y gair arferol i ddynodi anneddfan swyddogol y Rhaglaw Rhufeinig. Nid dadleudy neu *judgment-hall* a feddylir, ond preswylfod y rhaglaw, yr hwn a ddefnyddid i ddibenion barnol pan y byddai galw am hynny.[1]

Ystyria Dr. Purves[2] ac eraill mai ym mhalasdy mawreddog Herod Fawr, yr hwn a safai ar ochr orllewinol y ddinas, lle y ceir y *Citadel* a Phorth Joppa ar hyn o bryd, yr arferai Pilat aros yn ystod ei ymweliadau â Jerusalem. O blaid hyn dygir ymlaen dystiolaeth Philo mai ym mhalasdy Herod y gosododd Pilat i fyny y llurigau hynny barasant y fath dramgwydd i'r Iuddewon, a chesglir mai yn y palasdy hwnnw yr arferai breswylio pan yn Jerusalem. Mae'n ffaith hefyd mai hên balasdy Herod ydoedd preswylfod Pilat yn Cesarea. Dylai Act. xxiii. 35 ddarllen fel hyn—"Ac efe a orchymynodd ei gadw ef ym mhretorium palas Herod,"—gan olygu fod palas Herod wedi ei droi yn bretorium Rhufeinig, yn yr hwn yr oedd Pilat yn byw. Credir, felly, mai palasdai ardderchog Herod Fawr oedd y lleoedd at wasanaeth y rhaglaw yn y ddau le—Cesarea a Jerusalem. Mabwysiedir y golygiad yma gan Meyer, Winer, Edersheim, ac eraill. Os iawn y golygiad yna rhaid yw i ni edrych am y dadleudy yn yr adeiladau sydd ar y dde i'r *Citadel;* oblegid bernir fod y *Citadel* presennol yn un o'r tri tŵr a godwyd ar y gogledd i'r palas er mwyn bod yn amddiffyniad iddo.

Ar y llaw arall, y mae traddodiad eglwysig yn gosod tŷ Pilat ar y *gogledd* i'r Deml. Rhan ydoedd o adeiladau Antonia, lle y preswyliai y milwyr Rhufeinig. Rhaid cofio fod Herod Antipas,

[1] Gwel yr hyn ddywedir gennym yn yr Esboniad Cyfundebol ar Ioan, cyf. ii. tud. 267.

[2] Geiriadur Hastings.

mab Herod Fawr, yn arfer ymweled â Jerusalem adeg yr wyl, ac eithaf naturiol fyddai meddwl am dano ef yn aros yn hên balasdy y teulu, a Philat yn Nghastell Antonia.

Er nas gellir bod yn sicr, etto nid ydym yn gweled achos i wahaniaethu oddiwrth y traddodiad mai mewn adeilad ynglŷn â Chastell Antonia y condemniwyd yr Iesu. Cymmerwyd Ef yn gyntaf oll i dŷ Caiaphas, yr hwn oedd ar Sïon ac yn nghŵr deheuol y ddinas, oddiyno cymmerwyd Ef i Pretorium Pilat, yr hwn oedd ar Moriah, ym mhen gogleddol y Deml, ac oddiyno cymmerwyd ef i balasdy Herod, yr hwn oedd ar ochr ddwyreiniol y ddinas, ac yn ol drachefn i'r Pretorium. Derbynir y golygiad diweddaf yma gan Westcott, Weiss, a'r cyffredin o esbonwyr.

## FFORDD Y GOFID.

*Fford y gofid*, neu *Fford y poen*, neu *Via Dolorosa*, sydd un o heolydd pwysicaf Jerusalem. Heol ydyw yn nghyfrif Cristionogion Dwyreiniol nad oes ei phwysicach yn y byd. Rhêd yr heol o gymmydogaeth Porth Stephan hyd at Eglwys y Bedd Sanctaidd. Gelwir hi wrth yr enw am y credir i'r Iesu ei theithio pan yn myned o'r llys i Le y Benglog. Dibyna y daith honno, wrth gwrs, ar safle y Pretorium. Os yw y traddodiad eglwysig yn cyfeiliorni ynghylch y naill y mae hefyd yn nghylch y llall. Nid yw y Cristionogion Dwyreiniol—yn Lladiniaid, yn Roegiaid, yn Armeniaid, &c.,—yn ammheu dim yn nghylch eu Via Dolorosa. Nodant ar hŷd y ffordd hon bedair-ar-ddeg o orsafoedd (stations of the Cross) a fu gan yr Iesu yn ystod ei daith. Symmudant o'r naill orsaf i'r llall gan wylo, a chusanu ac addoli heb ddeall mai creadigaethau y 14eg a'r 16eg ganrif, o bosibl iawn, yw y cwbl. O leiaf nid oes cyfeiriad at y cyfryw orsafoedd hyd yr adeg yna. Peth arall sydd wedi ei sefydlu yn ffaith erbyn hyn yw fod lefel y ffordd bresennol o ddeg-troedfedd-ar-hugain i hanner-can'-troedfedd yn uwch na'r hyn oedd yn amser yr Iesu. Gellir, mewn rhai manau yn awr edrych i lawr a gweled yr hên lefel.

Ond gan ein bod yn cyfeirio at y Via Dolorosa ni a ddywedwn beth a ddanghosir ar y ffordd. Yr orsaf gyntaf ydyw tŷ Pilat ar ochr orllewinol Antonia. Yn ngwersyllfa bresennol y milwyr Tyrcaidd yn Antonia, y mae yr hyn a elwir yn *Gapel y Fflangelliad*, yn yr hwn y darganfyddwyd y golofn wrth ba un y credir i'r Iesu gael ei fflangellu. Yn nhŷ Pilat yr oedd y *grisiau sanctaidd* (scala santa), i lawr pa rai yr aeth yr Iesu wedi ei gondemnio. Tua diwedd cyfnod y Crwysgadwyr symmudwyd y grisiau hyn i ddinas Rhufain. Maent yno yn awr yn yr eglwys a elwir *St. Giovanni in Laterano*, a mawr yw y bri a osodir arnynt, oblegid y credir y bydd i un drwy eu dringo ar ei liniau yn weddigar, sicrhau maddeuant pechodau am fil o flynyddoedd. Lle yr oedd gwaelod y grisiau hyn wrth Antonia danghosir yr ail orsaf, ac yno, meddir, y gosodwyd y groes ar gefn yr Iesu. Ychydig yn nês i'r gorllewin danghosir yr "Ecce Homo." Bwa (arch) ar ochr y ffordd ydyw hwn, ac ar y bwa yma, meddir, y dywedodd Pilat y geiriau—"Wele y dyn." Gerllaw y bwa hwn y mae adeiladau Merched Sïon (Sisters of Zion), ac yn yr adeiladau



CIP-DREM YN DANGOS LEFEL YR HEN DDINAS A LEFEL Y DDINAS BRESENNOL.—t.d. 84.



Y FYNEDFA I EGLWYS Y BEDD SANCTAIDD.—t.d. 86.

hyn danghosir yr ystafell ym mha un y gwatwarwyd yr Iesu gan y milwyr, a'r maen ar ba un y safai pan yn derbyn y ddedfryd, ond nid oes yn yr Ysgrythyr gyfeiriad at faen felly. Er y traddodiad am yr Ecce Homo, têg yw nodi fod amryw o'r farn mai bwa godwyd adeg rhyw fuddugoliaeth Rufeinig yw yr un a elwir felly. Mae'r drydedd orsaf yn dynodi y fan y syrthiodd yr Iesu gyntaf o dan ei faich, y bedwaredd yn dynodi'r lle y cyfarfyddodd â'i fam, a'r bummed y lle y gosodwyd y groes ar gefn Simon. Yn agos i'r bummed orsaf y mae ôl llaw yr Iesu yn pwyso yn erbyn y pared. Ychydig ymhellach i'r gorllewin y mae tŷ St. Veronica, y foneddiges ddaeth ymlaen ac a sychodd chwŷs yr Iesu gyda'r canlyniad i ddarlun o'i wynebpryd aros yn argraffedig ar y cadach ddefnyddiwyd ganddi. Y seithfed orsaf yw yr hyn a elwid yn Borth Cyfiawnder, trwy yr hwn yr aethid allan o'r ddinas.[1] Yr wythfed a ddynoda y lle y cysurodd yr Iesu ferched Jerusalem, y nawfed y lle y syrthiodd y trydydd tro yn ystod y daith. Mae'r pump olaf y tu mewn i Eglwys y Bedd Sanctaidd: y ddegfed lle y diosgwyd ef, yr unfed-ar-ddeg lle y pwywyd yr hoelion, y ddeuddegfed lle y codwyd y groes, y drydedd-ar-ddeg lle y cymmerwyd ef i lawr oddiar y groes, a'r bedwaredd-ar-ddeg lle y claddwyd Ef.

Mae'r miloedd pererinion sydd yn d'od o Rwsia a lleoedd ereill i ymweled â'r ddinas yn teithio y Via Dolorosa drosodd a throsodd, ac yn cusanu llawer ar y ffordd a deithiodd Efe.

[1] Heb. xiii. 12.



## EGLWYS Y BEDD SANCTAIDD.

Y gwrthrych nesaf at Faes y Deml mewn pwys a dyddordeb i ymwelwyr yw yr Eglwys hon sydd yn nghanol y ddinas, ac i bob ymddanghosiad yn sefyll lle y safai "dinas isaf" Josephus. Mae mwyafrif mawr Cristionogion y byd yn credu fod yr Eglwys hon yn cynnwys o'i mhewn Fryn y Croeshoeliad, yn nghydag ogof Bedd yr Arglwydd, ac o ganlyniad gelwir hi yn Eglwys y Bedd neu Eglwys y Bedd Sanctaidd, ac hefyd yn Eglwys yr Adgyfodiad (Anastasis). Felly y dysga traddodiad Eglwysig am dani er's pedair canrif ar ddeg.[1] Hyd yn nod pan y mae'r traddodiad yna yn ymddangos yn ddi-sail, y mae i'r adeilad hwn hanes mawr a phwysig. Yn un peth mae iddo hanes ymladdfeydd dychrynllyd er ei feddiannu. Nid oes fan ar y ddaear y mae cymmaint o golli gwaed wedi bod wrth ei ymyl ac yn ei gylch.

Nid yw yn sŷn i ansicrwydd gyfodi ynghylch safleoedd y Croeshoeliad a'r Bedd. Yr oedd hynny i'w briodoli i amryw bethau—(a) Ddarfod i Titus ddinystrio y ddinas mor lwyr fel mai anhawdd fuasai adnabod dim rhan o honi. (b) Ddarfod i'r ddinas ar ol hynny fod yn adfeiliedig heb neb yn byw ynddi am dymhor o hanner canrif. (c) Yr oedd y Cristionogion yn flaenorol i'r Dinystr yn 70 O.C. wedi dianc o'r ddinas i Pella, y tu hwnt i'r Iorddonen, ac ni fynnent ddychwelyd cyhyd ag yr oedd ysbryd terfysglyd a gwrthryfelgar Iuddewon Judea yn d'od i wrthdarawiad parhaus â'r Gallu Ymherodrol. (d) Nid yw yn debyg fod yr Iuddewon yn cymmeryd dyddordeb neullduol yn lleoedd y Croeshoeliad a'r Bedd. Rhwng y cwbl, eithaf posibl ydoedd i'r llanerchi hynny, yn ystod y ganrif ddilynodd y Croeshoeliad, fyned yn rhai hollol an-adnabyddus. Ymhellach, yn ystod teyrnasiad Hadrian (120—136 O.C.) y mae'r ddinas, drwy drefniad yr Ymherawdwr, yn cael ei throi o fod yn Iuddewig i fod yn Genhedlig. Newidiwyd ei henw, a galwyd hi yn *Aelia Capitolina*. Lle y safai y Deml Iuddewig adeiladwyd teml i Iau, a chodwyd amryw adeiladau paganaidd eraill, a'r cwbl er mwyn ymlid ymaith bobpeth Iuddewig a magu ysbryd gwrth-Iuddewaidd a gwrth-Gristionogol.

Yn nechreu y 4edd ganrif y mae Eusebius (264—343 O.C.) yn

[1] Ymhellach ymlaen yn y llyfr traethir ar Galfaria a'r Bedd.

rhoddi hanes gwrhydri yr un oedd iddo ef yn noddwr, sef yr Ymherawdwr Cystenyn. Dengys iddo, ar ol gweled croes yn y wybren, ddyfod i ymffrostio yn y Groes, a dyfod yn brif amddiffynydd Cristionogaeth drwy'r byd. Dengys hefyd ddarfod iddo pan ar ymweliad â Phalestina, mewn modd hynod a gwyrthiol, ddarganfod Croes yr Iesu a'i Fedd. Mae'n deilwng o sylw mai i Elen, mam Cystenyn, y mae ysgrifenwyr boreuol eraill yn priodoli yr hyn briodolir gan Eusebius i Cystenyn.

Modd bynnag, y mae gennym dystiolaeth bendant Jerome ac eraill i Eglwys gael ei chodi er dynodi lle y Bedd, ac i honno gael ei chyssegru yn y flwyddyn 335 neu 336 O.C. Bu amryw ganrifoedd cyn i'r Eglwys hon dd'od yn un i ddynodi lle y Croeshoeliad yn ogystal a lle y Bedd. Mae'n ymddangos mai y Crwysgadwyr ddarfu beri i'r un adeilad gynnwys o'i fewn fan y bedd, fan y Croeshoeliad, a phethau eraill. Ar yr un pryd y mae'n lled eglur fod traddodiad Eglwysig yn ddifwlch er amser Cystenyn yn cyfeirio at yr Eglwys godwyd ganddo ef a'i fam. Llwyr ddinystriwyd yr Eglwys gan y Persiaid yn 614. Adeiladwyd hi drachefn gan Modestus gyda chymhorth Cristionogion Syria ac Alexandria, yn 626, a'r adeg yma yr oedd tair o eglwysi ynghyd, sef Eglwys y Bedd neu Eglwys yr Adgyfodiad, Eglwys Calfaria neu Eglwys y Croeshoeliad, ac Eglwys y Groes, hynny yw, yr Eglwys lle darganfyddwyd y Groes. Yn 1010 mae'r Eglwys (neu'r Eglwysi) yn cael ei llwyr ddinystrio gan y Mahometaniaid. Yn 1055 codwyd hi drachefn. Yn 1099 cymmerwyd meddiant o honi gan y Crwysgadwyr, y rhai, meddir, a aethant i mewn iddi yn droednoeth a chyda moliant mawr. Newidiasant yr adeilad, a gwnaed ef, fel y sylwyd, i gynnwys yr holl leoedd cyssegredig oeddynt ynghyd. Yr oedd Eglwys y Crwysgadwyr yn fawr ac yn wych, a bu yn sefyll am dros 700 mlynedd, sef hyd nes y llosgwyd hi, oddigerth rhan fach o honi, yn 1808. Y pryd hyn syrthiodd i ran y Cristionogion Groegaidd i'w chodi drachefn, yr hyn a wnaethant erbyn 1810, o dan arweiniad arch-adeiladydd o Mitylene. Mae'n amlwg fod cymmaint ag oedd bosibl o ddefnyddiau'r Eglwysi blaenorol wedi eu dodi yn yr un bresennol, ac feallai fod rhai o ddefnyddiau Eglwys Cystenyn i'w cael ynddi yn awr.

Nid yw hyn yn cynnwys yr oll o'i hanes. Heblaw y trychinebau a nodwyd, bu dinystrio arni trwy dân neu gan ysbeilwyr

yn 936, yn 969, yn 1187 ac yn 1244. Bu adgyweiriadau a chyfnewidiadau yn 670, yn 833, yn 1310, yn 1400, ac yn 1719. Dywedir fod yr adeilad yn ei ffurf bresennol, sef megys y codwyd yn 1808, wedi costio i'r Cristionogion y swm anferth o £600,000; ond dywedir hefyd fod tua'r drydedd ran o'r swm wedi myned i lwgr-wobrwyo a heddychu y Mahometaniaid. Dywedir nad yw Iuddewon yn myned yn agos at yr adeilad, a hynny, yn un peth, am nad oes dim croesaw na chaniattad iddynt. Wrth y fynedfa gwelir sypiau o gardottwyr a thorf o fasnachwyr llygredig—golygfeydd yn ein hadgoffa o ddigwyddiadau yn yr Efengyl.

O fewn i'r adeilad y mae crebwyll dyn wedi bod am 15 canrif ar ei oreu yn dwyn at eu gilydd draddodiadau am bron bobpeth apelia at feddwl a theimlad y rhai mwyaf hygoelus o Gristionogion. Nid ychydig ychwaith yw y rhai sy'n barod i gyd-olygu â'r hyn ddywedodd un—y ceir yma yr amgueddfa oreu o erchyllderau crefyddol sydd i'w chael yn y byd.

Y prif wrthrych y tu mewn i'r Eglwys yw yr adeilad sydd, fel y dywedir, yn cynnwys y Bedd Sanctaidd. Saif hwn yn nghanol prif ran yr Eglwys, ïe, saif o dan ei chroman, yr un modd ag y gwna'r graig sanctaidd o dan groman y Mosc ar Moriah. Cynnwysa adeilad y Bedd ddwy ystafell, neu ddwy ogof, y naill yn arwain i'r llall. Gelwir y fwyaf allanol o'r ddwy yn *Gapel yr Angelion*, a mesura 11 troedfedd wrth 10 troedfedd. Yn yr ystafell hon y gwelwyd yr angelion adeg adgyfodiad Crist. Arweinia hon trwy ddrws isel i ystafell arall fwy mewnol, yn yr hon bob amser y saif offeiriad, a'r hon nas gall gynnwys yn ychwanegol at hynny ond ryw ddau berson neu dri. O'i nèn y mae yn hongian gymmaint a 43 o lusernau—13 yn perthyn i'r Eglwys Ladinaidd, 13 i'r Eglwys Roegaidd, 13 i'r Eglwys Armeniaidd, a 4 i'r Cristionogion Coptaidd. Ar y dde yn yr ogof leiaf yma, ac yn gorwedd gyda'r mûr y mae'r *Bedd*, yn 2 droedfedd o uchder, ychydig dros 6 troedfedd o hŷd, a 3 troedfedd o lêd. Ar y mûr uwchben y mae darn o farmor gwyn, ac arno ddarlun o adgyfodiad yr Iesu. Dysga traddodiad felly fod yr Eglwys yn sefyll lle y safai gardd Joseph, a honir fod y bedd sydd yn yr Eglwys yn awr yn hollol fel yr oedd yn yr ardd. Tystir na bu i'r holl ddinystrio fu ar yr Eglwys fod yn foddion i ammharu dim ar y Bedd Sanctaidd. Yn agos i fedd yr

Arglwydd danghosir beddau Joseph, Nicodemus, a Iago brawd yr Arglwydd.[1]

Yn agos i'r fynedfa mae *Maen yr Eneinio*, yr hwn sydd yn 8½ troedfedd o hŷd a 4 troedfedd o lêd. Cydnabyddir mai yn gorwedd o'r golwg o dan y maen hwn, osodwyd yn 1808, y mae y gwir faen; ond nid yw hynny yn rhoddi attalfa ar waith y bobl yn cusanu y maen, ac yn dwyn eu hamdöau a'u mhesur wrtho, er sicrhau eu bod yr un maint ag ef. Nid ychwaith ar y maen marmor sydd ym medd yr Iesu y gorweddodd Ef, ac etto cusenir hwnnw hefyd yn ddyfal, ac aberthir yn feunyddiol arno. Mewn man neullduol yn yr Eglwys danghosir yr hyn sydd yn ganolbwynt y byd. Maen bychan ydyw yn llawr yr adeilad, ac er's amser boreu iawn fe gredir mai dyna ganolfan y byd yma. Mewn man arbennig cedwir yn ofalus mewn cist ddarn o golofn y fflangelliad, yr hwn a ddanghosir ar ddiwrnod neullduol bob blwyddyn, pryd yr ymgasgla y torfeydd atto i'w gusanu. Mae darn gwahanol i hwn, yn myned dan yr un enw, yn cael ei ddangos gan y Lladiniaid mewn man arall yn yr Eglwys. O fewn yr adeilad y mae nifer fawr o ystafelloedd a chilfachau yn myned dan yr enwau o gapelau. Yn y rhai hyn ceir allorau, a phethau o ddyddordeb yn cael eu dangos. *Capel yr angelion* yw un fel y sylwyd. Adnabyddir dau fel *Capelau yr Ymddanghosiad*, sef Capel ymddanghosiad yr Iesu i Mair Magdalen (Ioan xx. 14, 15), a Chapel ei ymddanghosiad i'w fam, yr hwn sydd yn cael ei ddangos er y 14eg ganrif. Eithaf rhyfedd yw yr enwau ar rai o'r capelau, megys y capelau sydd ar Golgotha. Mae Golgotha —er o fewn yr Eglwys—yn sefyll ar lwyfan o 15 troedfedd yn uwch na'i llawr hi, a rhaid esgyn 15 o risiau er ei gyrhaedd. Yno y mae gan y Groegiaid *Gapel dyrchafiad y groes*. Yn hwn danghosir twll wedi ei orchuddio âg arian, yn yr hwn y dywedir y safai Croes Crist, ac ar ddeutu hwn—bum troedfedd oddiwrtho —y mae tyllau y ddwy groes eraill, ac, yn ol y traddodiad, ceir eiddo y troseddwr edifeiriol ar y dde. Ryw bedair troedfedd oddiwrth y fan y safai Croes yr Iesu danghosir yr agen yn y

[1] I bob ymddanghosiad y mae yn y fan hon hên feddau Iuddewig. Gerllaw yr un a elwir yn Fedd Sanctaidd y mae un a elwir yn Fedd Nicodemus. Am hwn dywed Conder mewn llythyr attom—ei fod yn fedd Hebreig, ac y gellir yn hawdd gredu mai ynddo y claddwyd Dafydd a Solomon. Mewn llythyr arall dywed ei fod ef bob amser o'r farn mai beddau rhai o'r brenhinoedd yw y rhai Iuddewig sydd i'w cael yn Eglwys y Bedd Sanctaidd.

graig gynnyrchwyd gan y ddaeargryn (Mat. xxvii. 51), ac y mae'r agen fechan hon, fe ddywedir, yn cyrhaedd hyd at galon y ddaear —os nad yn rhedeg drwy'r ddaear i gyd. Yn ochr y capel hwn ar Golgotha y mae gan y Lladiniaid eu capelau—*Capel yr hoelio ar y groes*, a'r capel lle y derbyniodd Mair ei Dwyfol Fab ar ol ei ddisgyniad oddiar y groes. Yn hwn darlunir y Forwyn Sanctaidd yn dal y Crist croeshoeliedig ar ei glin. Mae'r allor yn y capel hwn yn myned dan yr enw o *Stabat* (ac mae'n hysbys fod *Stabat Mater* yn un o brif ganeuon yr Eglwys Babaidd). Ceir yma hefyd *Gapel y coroni â drain*, ac ynddo danghosir y maen ar yr hwn yr eisteddai y Gwr goronid felly, ac ychydig hefyd o'r drain a ddefnyddiwyd. Yn ychwanegol etto cawn *Gapel y bwrw coelbren am y dillad*, a *Chapel y gwawdio*, ac er syndod cawn *Gapel y milwr drywanodd yr Iesu*. Adnabyddir y milwr hwn fel Sant Longinus, a dywedir mai un-llygeidiog ydoedd, ond i ddiferyn o'r gwaed a bistylliai o archoll y waewffon ddisgyn i'w lygad wâg, a'i gwneud yn llygad holl-iach ar unwaith. Daeth mewn canlyniad yn Gristion, ac yn nghyfrif Eglwys Groeg y mae yn sant; ond nid yw y Lladiniaid yn ei gydnabod fel y cyfryw, ac nid ydynt yn gwneud sylw o'i gapel. Amryw droedfeddi yn îs na'r Eglwys etto ceir *Capel Elen*, ac yn y fan hon y safai Eglwys Cystenyn. Mae yn gapel helaeth, ac yn perthyn i'r Armeniaid. Danghosir ynddo y sêdd ar ba un yr eisteddai'r frenhines pan yn arolygu y gwaith o chwilio am y groes. Yn îs etto na'r capel hwn y mae un arall, sef *Capel darganfyddiad y Groes* (The invention of the Cross). Yr oedd Elen, yn ol yr hanes, wedi ei chyfarwyddo fod croes yr Iesu yn guddiedig yn y fan hon. Ar ol chwilio am yspaid darganfyddwyd tair o groesau, ond nis gellid penderfynu pa un o'r tair oedd ei groes Ef. Modd bynnag, dyfeisiodd Esgob Macarino gynllun er penderfynu'r cwestiwn. Yr oedd boneddiges yn y ddinas ar fin marw. Cymmerwyd y croesau atti bob yn un. Ni effeithiodd y ddwy gyntaf ddim oll arni, ond pan welodd hi y drydedd, a phan gyffyrddodd â honno, adfywiodd y foneddiges ar unwaith, a daeth yn iach drachefn. Dyna'r hanes. Yn *Nghapel darganfyddiad y groes* y mae cerflun pres o Elen yn dal y groes yn ei llaw. Nid ydym etto wedi enwi'r oll. Cawn yma *Eglwys yr Apostolion; Capel y Deugain Merthyr; Eglwys y Crwysgadwyr*, ac wrth ymyl hon mae math o amgueddfa ym meddiant y Mynachod Lladinaidd, yn yr hon y danghosir cleddyf a gwaywffon Godfrey-de-Bouillon, a phethau eraill yn perthyn i amser y Crwysgadwyr; Capel Melchisedec; Capel Iago

brawd yr Arglwydd; Capel Mair o'r Aipht; Capelau o eiddo'r Coptiaid, yr Abyssiniaid, y Syriaid, &c., ac yn sicr ni ddylem anghofio am *Gapel Adda*, a'r traddodiad i'r tad Adda farw a chael ei gladdu yma, ac i waed yr Ail Adda, adeg y Croeshoeliad, ymgymmysgu gyda llwch yr Adda cyntaf. Beth, mewn difrif, o'r tryblith hyn a all fod yn wir?

Mae'r addoliad cyffredin yn Eglwys y Bedd Sanctaidd yn drystfawr a di-drefn, mor ddiffygiol yn yr hyn a elwir yn *decorum* ag y gallai fod; ond ar adeg y Pasc y mae'n ddychrynllyd, yn gywilyddus, yn sarhâd ar synwyr cyffredin ac yn gableddus, ac etto yn cael ei gario ymlaen gan awdurdodau Eglwys Groeg yn enw Cristionogaeth, ac ynglŷn â ffaith bwysicaf y Grefydd Gristionogol. Mae'r arferiad yr ydym yn myned i'w ddesgrifio yn seiliedig ar beth a gydnabyddir yn dwyll. Noson cyn y Pasc y mae'r Eglwys yn llawn o bererinion ac eraill. Treuliant y nos drwyddi yn yr adeilad, a'r rhan fwyaf o'r dydd dilynol, ac am y rhan helaethaf o'r amser yna y mae'r lle yn cael ei nodweddu gan frwdfrydedd gwyllt ac anweddaidd iawn. Bydd amrywiol grefyddwyr yn bresennol—Armeniaid, Coptiaid, Abyssiniaid, ond y rhai fydd yn cymmeryd y brif ran yn y seremoni fydd addolwyr Groegaidd o Rwssia a lleoedd eraill. Bydd o ddeg i ddeuddeng mil o bobl yn bresennol yn yr adeilad, a bydd yn ofynol wrth gannoedd o'r milwyr Tyrcaidd i'w cadw mewn trefn. Ystyr proffesedig y cynnulliad yw fod tân gwyrthiol yn disgyn o'r Nef i ogof y Bedd Sanctaidd, a bod cyfranogi o'r tân yna y fendith fwyaf a all Cristion yn y byd yma ei chael. Mae'r Groegiaid yn gorymdeithio o amgylch ogof y Bedd gan groch-waeddi—*Hadha Kuber Said-na*—"Dyma fedd ein Harglwydd." Weithiau codir un ar ysgwyddau y dorf, a dulia hwn â'i ddyrnau—os nad hefyd â'i ben a'i draed yn erbyn yr ogof-adeilad gyda'r amcan o'i orfodi i roddi allan y tân. O'r diwedd, tua dau y prydnawn, arweinir Patriarch Eglwys Groeg i mewn i'r ogof, ac ymhen yspaid ar ol hynny estynir y tân—tân, wrth gwrs, o wneuthuriad y Patriarch—ar fflamdorch drwy agorfa allan o'r ogof. Mae gan bob addolydd ei fflam-dorch, a goleuir y rhai hyn gyda chyflymdra mawr a pheryglus, pob un yn rhuthro at gael tân oddiwrth eu gilydd ac oddiar eu gilydd, megys y rhuthra bwystfilod at ysglyfaeth. Ymhen ychydig y mae'r holl adeilad yn un goelcerth o dân, a'r bobl yn ei ganol fel pe yn ymdrochi ynddo, gan ystyried mai bendith yw cael hanner losgi eu cyrph a'u dillad

ynddo, a chael eu gorchuddio gan gŵyr y fflam-dorchau. Yn fuan iawn gwasgerir y tân dros y ddinas, ac y mae gwŷr-meirch yn barod i'w gludo gyda chyflymdra i Bethlehem a lleoedd eraill. Mae'r seremoni yn un ddifrifol o beryglus, ac oni bae am fedr y milwyr Tyrcaidd byddai yr ymladdfeydd a'r damweiniau yn llawer mwy nag ydynt. Yn y flwyddyn 1834 cymmerodd terfysg le yn ystod y seremoni, yr hwn ddiweddodd mewn bod dros 300 o'r pererinion yn colli eu bywyd. Mae'r twyll sydd ynglŷn â'r tân yn amlwg i bawb ond y deillion na fynnant weled. "Mae'r Syriaid anwybodus a'r Rwssiaid ynfyd-grefyddol yn para i gredu fod y tân yn disgyn o'r Nef. Ni feiddia yr offeiriaid eu goleuo, ac y mae'r ofergoeledd yn cael ei feithrin gan yr awdurdodau hynny sydd yn cefnogi ac yn trefnu, trwy gymhorth y Llywodraeth, bererindodau o Rwssia i'r ddinas sanctaidd."[1] Mae'r seremoni bechadurus hon wedi bod yn cael ei chario ymlaen am ganrifoedd lawer. Cyfeiria Bernard ddoeth at ei bodolaeth yn 867 O.C.Nid oes gan y Lladiniaid unrhyw ran ynddi er yr 16eg ganrif, a buan y byddo i'r Groegiaid ymryddhau oddiwrth y twyll hefyd.

Difrifol odiaeth yw meddwl am y gystadleuaeth a'r ymgiprys pechadurus sydd yn bod cydrhwng y chwe' phlaid o Gristionogion a addolant o fewn i Eglwys y Bedd Sanctaidd. Digon annymunol yw y sŵn aflafar gynnyrchir gan y rhai hyn yn addoli —pob plaid yn ei chongl ei hun a'i ffordd ei hun; ond mwy annymunol yw y cweryla a'r ymladdfeydd nes ei wneud yn hollol angenrheidiol fod milwyr y Sultan o fewn yr adeilad o hyd yn cadw y Cristionogion hyn mewn heddwch â'u gilydd. Sut y gellir disgwyl i Fahometaniaid nag Iuddewon Palestina ddyfod i gofleidio y Grefydd Gristionogol pan y gwelant y fath arddanghosiad o honi yn yr adeilad a adnabyddir fel ei hadeilad pwysicaf —prif Eglwys Gadeiriol y grefydd. Gwir y dywedodd rhywun mai bendith fawr i Gristionogaeth fyddai i Eglwys y Bedd Sanctaidd ddiflanu o fodolaeth.

Tra yn caniattau yn y fan hon y gall rhagfarn yn erbyn y lle yn ei gyflwr presennol roddi bod i awydd am ganfyddiad man y Croeshoeliad a man y Bedd yn rhywle arall, credwn yn gryf mai nid felly y mae. Ffrwyth ymchwiliadau manwl a chydwybodol, ynghyda sylwadaeth hollol ddi-duedd, yw y grediniaeth sydd yn

[1] Conder—Tent Work.

myned fwy-fwy cyffredinol mai nid lle wedi ei wneud yn gyssegredig gan Grist yw Eglwys y Bedd Sanctaidd, ond lle wedi ei wneud felly gan draddodiad anghywir ac ofergoeledd ddall yr Eglwysi Dwyreiniol a defodol, a bod gwir leoedd y Croeshoeliad a'r Bedd i'w darganfod mewn mannau eraill. Fel y sylwa Dr. Benzinger (yn llyfr Hilprecht), un o'r prif gwestiynau ynglŷn â'r astudiaeth o ddinas Jerusalem yw dilysrwydd (genuineness) yr Eglwys arbennig yma; ac er y dylanwadau anferth sydd yn gweithio o'i phlaid, d'od yn fwy a mwy gwrthodedig y mae'r Eglwys po fwyaf fo y goleuni dderbynir ar y cwestiwn.

### *Y rhan o Sion sy'n awr tu-allan i'r Muriau.*

Er's llawer dydd bellach y mae'r hên Sïon yn ddwy ran—y rhan sydd y tu-mewn i'r muriau a'r rhan sydd y tu-allan. Ychydig o adeiladau sydd ar y rhan ddiweddaf yma, ond ymgyssyllta graddau helaeth o ddyddordeb ynglŷn â'r rhan hon.

Un gwrthrych o ddyddordeb yn y Sïon oddi-allan i'r muriau yw *Beddrod Dafydd* (Nebi Daüd). Yn aml iawn ceir awduron yn cymmysgu Beddrod Dafydd gyda *Tŵr Dafydd*. Mae yr hyn a elwir yn Dŵr Dafydd y tu-mewn i'r muriau, yn hytrach yn rhan o honynt. Saif yn agos i Borth Joppa, yn gadarn ac uchel, a chyda ffôs o'i gwmpas. Dywedir i Titus adael yr adeilad yma heb ei ddinystrio, ac felly y mae rhan helaeth o hono wedi sefyll er amser Herod. Oddiwrth ddesgrifiad Josephus o Dŵr Phasælus ag oedd yn rhan o Balasdy Herod, gellir casglu mai hwn yw hwnnw, ac etto mae cyfnewidiadau helaeth wedi bod arno er y pryd hynny. Gelwir ef hefyd yn Gastell Dafydd, y *citadel*, yr *el-Kala*. Mae yn cael ei alw ar enw Dafydd am y credid fod palasdy Dafydd ar y safle yma cyn bod palasdy Herod yno. Ond y mae Beddrod Dafydd gryn bellder i'r de oddiwrth Dŵr Dafydd, ac y mae hefyd y tu-allan i'r muriau. Rhaid myned allan drwy Borth Sïon er dyfod atto. Ffurfia Beddrod Dafydd gasgliad o adeiladau afluniaidd. Fe'u gwylir yn ofalus gan Fahometaniaid a swyddogion Tyrcaidd. Cred y rhai hyn fod Dafydd yn un o'r prophwydi pennaf fu erioed. Am y credent fod Dafydd a Solomon yn gorwedd yma y gwnaethant ymdrech fawr i feddiannu'r lle oddiar y Cristionogion. Cyn bod Eglwys y Bedd Sanctaidd yr oedd Eglwys yr Apostolion wedi ei chodi yn y fan hon i ddynodi mangre y Pentecost a Disgyniad yr Ysbryd. Mae'r

adeilad yn ei ffurf bresennol yn ein cyssylltu â'r Crwysgadwyr. Er yr 16eg ganrif y mae'r lle ym meddiant y Mahometaniaid, a chadwant Gristionogion draw o'r fan lle y disgynodd yr Ysbryd am ei fod yn lle cyssegredig ganddynt hwythau fel claddfa Dafydd a Solomon. Mewn ystafell yn yr adeilad y mae cist fawr, yr hon, meddir, sydd yn gopi cywir o'r gist yn cynnwys gweddillion Dafydd sydd mewn ogof hollol ddirgel islaw i'r ystafell. Ni feiddia'r Mahometaniaid fyned i'r ogof, ac ni chaniattânt i neb arall fyned.



NEBI DAUD—ADEILAD YN CYNNWYS BEDDROD DAFYDD A'R COENACULUM (YR ORUWCHYSTAFELL).

Gerllaw i'r ystafell, ac amryw risiau yn uwch na hi, y mae ystafell arall. Gelwir hon wrth yr enw *Coenaculum*, a hi, yn ol traddodiad, sydd wedi dechreu ymffurfio er y 7ed ganrif, yw yr oruwchystafell lle y sefydlwyd y Swper Sanctaidd, lle y cyfarfu yr Arglwydd Iesu â'i ddilynwyr ar ol ei adgyfodiad, a lle yr oedd y rhai hyn yn ymgynnulledig pan ddisgynodd yr Ysbryd arnynt ddydd y Pentecost. Pe gellid credu hyn i gyd, y fath ystafell fuasai hon i un gael ei hunan ynddi! Mae hyn yn sicr—fod yr ystafell bresennol lle yr oedd, yn amser y Crwysgadwyr, yr hyn a elwid yn *Eglwys Sïon*, a bod honno, fel y proffesid, ar safle yr oruwchystafell. Mae cryn lawer i'w ddyweyd yn ffafr y golygiad

mai ystafell yn perthyn i "dŷ Marc" ydoedd yr oruwchystafell, ac mai yn yr un oruwchystafell ag y cynnullwyd y disgyblion y Nos Iau cyn y Croeshoeliad, y cynhaliwyd y ddau gyfarfod eglwysig cyntaf—un ar Sabboth yr Adgyfodiad a'r llall ar y Sabboth dilynol i hynny. Ond yr anhawsder ynglŷn â'r Coenaculum yw hyn—fod gennym ddau draddodiad pwysig, un am ogof-fedd Dafydd a'r llall am yr oruwchystafell. A chaniattau y gall un o honynt fod yn wir, nis gall y ddau fod; oblegid nis gellir meddwl am rai yn amser y Gwaredwr yn preswylio uwchben Beddrod Dafydd, a hwythau hefyd yn gwybod ei fod yno. Mae'n anhawdd gwybod ar ba sail y dywedai Cyril mai hwn oedd yr unig adeilad arbedwyd adeg Dinystr Jerusalem.

Y gwir yw fod tri neu bedwar o leoedd yn Jerusalem yn cystadlu â'u gilydd am yr anrhydedd o fod yn gladdfa i Dafydd. Dywedir iddo gael ei gladdu "yn ninas Dafydd,"[1] a rhydd Josephus ynghyda'r Talmud fanylion am waith Solomon yn claddu ei dad; hefyd rhydd Josephus yn nghyda 1 Bren. xi. 43, ac 2 Chron. ix. 31 ar ddeall i Solomon ei hunan gael ei gladdu yn yr un lle. Pa le ydoedd hwnnw? Gan rai dysgir mai yn y *Xystus* yr oedd, sef yr ardd ar lethr ddwyreiniol Sïon, ac am y dyffryn â Moriah. Mae llanerch arall ar Sïon yn yr hon y dywedir i Dafydd a'i fab gael eu claddu, sef yn yr ogof-feddau Iuddewig sydd ynglŷn âg Eglwys y Bedd Sanctaidd, ac yn cael eu hadnabod fel Bedd Nicodemus, Bedd Joseph o Arimathea, &c. Dyma farn Conder:—"Tueddir fi i gredu fod Dafydd a Solomon, a rhai o'r prif frenhinoedd, wedi eu claddu yn yr hyn a adnabyddir yn awr yn Bedd Nicodemus, &c." Mae tri o leoedd eraill ar neu yn nghymmydogaeth Ophel yn cael eu nodi fel safleoedd Beddrod Dafydd. Ymresymai Dr. Robertson Smith ar bwys Ezec. xliii. 7—9, lle y sonir am "gyrph meirw y brenhinoedd" yn bod mor agos at y tŷ sanctaidd fel ag i'w halogi—y rhaid fod dinas Dafydd ar Ophel, ac mai yno hefyd, i'r de o'r Deml ac yn agos atti, y claddwyd Dafydd. Os felly, rhaid oedd fod Herod wedi symmud ymaith y bedd pan yn arloesi Ophel fel ag i eangu maes y Deml; ond dengys Act ii. 29[2] fod Beddrod Dafydd yn bod fel gwrthrych adnabyddus hyd ddydd y Pentecost, ac felly cawn nad oedd ei feddrod ef ar y rhan o Ophel feddiannwyd

[1] 1 Bren. ii. 10.
[2] "Ac y mae ei feddrod ef gyd â ni hyd y dydd hwn."

gan Deml Herod. Ymddengys, fodd bynnag, fod cyfeiriad diammheuol at gladdfa frenhinol ar ryw ran o Ophel yn cael ei wneud yn yr Ysgrythyr. Cyfeiriwyd eisoes at hyn ar tud. 31. Yn gymmaint a bod Neh. iii. 16 yn son am "feddrod Dafydd," a bod hwnnw yn cael ei gyssylltu gyda'r "pysgodlyn" (Siloah) a chyda "tŷ y cedyrn," arweinir Dr. Herbert E. Ryle (Esgob Winchester) i farnu fod y gladdfa frenhinol ar ochr ddwyreiniol neu ym mhen de-ddwyreiniol Ophel. Yn 2 Bren. xxi. 18 a 26 nodir fod y gladdfa frenhinol yn yr ardd neu'r gerddi brenhinol, a gelwir gardd y gladdfa yn Ardd Uzza, a barna amryw mai yn y Tyropean, ychydig i'r gogledd o Siloam yr oedd gardd Uzza a'r gladdfa frenhinol ynddi. Yngwyneb y cwbl ymddengys yn lled amlwg fod claddfa frenhinol yn bod wrth odrau Ophel ac yn agos i Lyn Siloam. Ond nid ydym wrth hynny i ddeall fod Dafydd wedi ei gladdu yn y gladdfa honno. Sonir am 15 o frenhinoedd Judah yn cael eu claddu yn ninas Dafydd—sef Dafydd, Solomon, Rehoboam, Abia, Asa, Jehosophat, Joram, Ahazia, Joas, Amasia, Azaria, Jotham, Ahaz, Hezeciah, a Josiah. Ychwanega Josephus y brophwydes Huldah attynt. O berthynas i eraill, megys Manasseh a'i fab, ni ddywedir iddynt hwy gael eu claddu yn "ninas Dafydd," ond dywedir iddynt gael eu claddu yn eu gardd eu hunain, sef yngardd Uzza. Am Uzziah drachefn dywedir iddo gael ei gladdu "gyda'i dadau ym maes beddrod y brenhinoedd." 2 Chron. xxvi. 23.[1]

Ystyriwn, fel hyn, i rai brenhinoedd gael eu claddu "yngardd Uzza," yn agos i Siloam, ac i eraill, a Dafydd yn eu mysg, gael eu claddu "yn ninas Dafydd." Gall y gladdfa frenhinol yn ninas Dafydd olygu y gladdfa Iuddewig sydd ar Acre, lle y mae Bedd Nicodemus; neu gall olygu y gladdfa ar ochr ddwyreiniol Sïon, ymhen y Tyropean ac ar ochr orllewinol y Deml. Wrth gloddio i lawr yn y fan hon gyda'r amcan o ddarganfod olion Pont y Tyropea, cafodd Syr Charles Warren ei hun mewn ystafell dan-ddaearol fawr o wneuthuriad rhagorol, a beddfaen yn ei chanol. Mesura'r ystafell 23 × 20 o droedfeddi, a chynnwysa, medd Warren, yr engraifft hynaf o waith maen sydd i'w gael yn Jerusalem. Nid oes dim ym mhlaid y golygiad fod Beddrod Dafydd i'w gael

[1] Dylid sylwi mai brenhinoedd yn unig, oddigerth Huldah, a gladdwyd y tu mewn i Jerusalem. Yr oedd claddu yn y ddinas yn beth tebyg i gladdu yn y Westminster Abbey.

o dan y Coenaculum; ond y mae llawer ym mhlaid ei fod, fel y sylwyd, naill ai ar Acre neu ymhen y Tyropean ar gyfer y Deml. Gellir gofyn, onid yw Neh. iii. 16 yn dangos fod Beddrod Dafydd yn ngwaelod y Tyropean, yn agos i Siloam? Na, eithr fel y sylwyd eisoes, mae'r cyfieithiad "beddrod Dafydd" yn yr adnod yn gamarweiniol; *Sepulchres of David* yw yn Saesneg, ac y mae'n amlwg y golyga yr un peth a "beddau meibion Dafydd," ag y sonir am danynt yn 2 Chron. xxxii. 33.

Gwelir mai ar ol dechreu y cyfnod Cristionogol yr aeth bedd Dafydd yn beth anadnabyddus (Act ii. 29). Yr oedd yn beth hollol adnabyddus ar ol y dychweliad o Fabilon. Dywed Josephus fel y bu i John Hyrcanus, yn 125 C.C., "agor bedd Dafydd a chymmeryd 3000 o dalentau arian o hono." Tua 20 C.C. drachefn torrodd Herod i mewn i'r bedd, gan ei ysbeilio ymhellach. Amcanodd fyned i mewn hyd at gyrph Dafydd a Solomon, ond cadwyd ef yn ol mewn braw drwy i fflam o dân ladd dau o'i weision. Er gwneud iawn am ei gamwedd cododd Herod feddfaen er addurno y lle. Ar ol Dinystr Jerusalem collwyd y bedd hyd y flwyddyn 363 O.C., pan y darganfyddwyd ef drachefn gan weithwyr yr Ymherawdwr Julian. Rhydd yr hanesydd Philostorgius hanes manwl am y darganfyddiad hwn, pryd y cafwyd, mewn modd gwyrthiol, gopi o Efengyl Ioan mewn man dyogel yn y bedd.[1]

Ryw hanner milldir i'r gogledd oddiwrth Borth Damascus y mae hên gladdfa tan-ddaearol, yr hon unwaith a nodweddid gan wychder mawr. Gelwir hi yn *Gladdfa'r Brenhinoedd*, ond mae'n sicr mai nid hên frenhinoedd yr Iuddewon roddwyd i orwedd yn y gladdfa hon, sydd, ac oedd, y tu-allan i'r ddinas. Dywed Josephus fod claddfa fawreddog y frenhines Elen o Adiabene yn bod yn ei amser ef yn y fan arbennig yma. Yr oedd i Elen dylwyth lluosog iawn, a chredir felly mai hi a'i thylwyth a gladdwyd yn y lluaws mawr o ystafelloedd sydd yn y gladdfa hon. Heb fod ymhell oddiwrthi, ac hefyd y tu-allan i'r ddinas, y mae'r hyn sydd yn gydmarol ddiweddar wedi d'od i'w adnabod weithiau fel *Claddfa y Barnwyr*, ac weithiau fel *Claddfa'r Prophwydi*.

Y gwrthrych arall heblaw y Coenaculun sydd o ryw gymmaint o bwys ar y Sïon tu-allan i'r muriau yw *Mynachdy yr Armeniaid*, yr hwn, meddir, sydd yn dynodi y fan y safai *Tŷ Caiaphas*, a gelwir ef yn awr gan yr Arabiaid yn *Habs-el-Mesih*, hynny yw, Carchar Crist. Mae amryw bethau yn cael eu dangos yn y fan, megys y

[1] Difynir yn llawn gan Russell Forbes—"Holy City."

lle y cedwid yr Iesu pan ar ei brawf, y lle y gwadwyd Ef gan Pedr, y lle y safai y ceiliog, a'r maen oedd yn gauad ar fedd yr Iesu, yr hwn a adnabyddir fel "maen yr angel." Nid yw yn ymddangos fod traddodiad am faen yr angel yn flaenorol i'r 14eg ganrif, ond er's amser maith bellach y mae'r maen hwnnw yn cael ei ddangos mewn dau le gwahanol, sef yn y mynachdy Armeniaidd yma ar Sïon, ac hefyd yn Eglwys y Bedd Sanctaidd. Mae'r traddodiad ynghylch safle Tŷ Caiaphas a Charchar yr Iesu wedi bod yn amrywio ychydig, ond ar y cyfan lleolir y tŷ hwnnw rywle yn nghymmydogaeth y fangre sydd ym meddiant yr Armeniaid. Ysgrifenasom yn helaeth ar y palasdy offeiriadol hwn yn yr Esboniad cyfundebol ar Ioan.[1]

Rhan o'r palas oedd y llys, neu y cyntedd. Mewn tai mawr dwyreiniol ceid, a cheir hefyd yn awr, yn nghanol yr adeilad gyntedd, neu neuadd fawr, yn agored i'r awyr; ac weithiau neuadd neu ddwy eraill, yn llai o faint, ond yn sefyll yn uwch, ac yn agor i'r neuadd fawr. Byddai ystafelloedd cauedig y tŷ wedi eu hadeiladu o amgylch y rhai hyn, gan eu gwynebu, a gwynebu eu gilydd. Pan ar ei brawf yr ydym i feddwl am yr Arglwydd Iesu yn cael ei arwain o'r heol i'r neuadd fawr, ac ar draws honno i neuadd lai ac uwch oedd yn ei hochr. Nis gellir gwahaniaethu, fel y gwna rhai, rhwng palas Annas a phalas Caiaphas, gan olygu fod y cyntaf rywle ar y ffordd o Gethsemane i gymmydogaeth y Deml, lle yr oedd yr ail. Mae'r hanes yn gofyn am i ni ddeall mai yn yr un palasdy yr oedd Annas a Chaiaphas yn ystod y noson y dygwyd yr Iesu ger eu bron. Fel ffrwyth ymchwiliadau, bernir mai ar Fynydd Seïon, gryn bellder o'r Deml, y safai palas mawr ac urddasol yr Archoffeiriad. Yr oedd hwnnw yn ystod O.C. 18—36 yn gartref i Caiaphas yn rhinwedd ei swydd. Er fod gan Annas balasdy arall, mwy gogleddol na'r un Archoffeiriadol, y mae lle cryf i gredu fod ganddo, fel pennaeth y teulu offeiriadol, ran o'r palasdy swyddogol ar Seïon at ei wasanaeth hefyd.

[1] Cyf. ii. tud. 258—260.

## DINAS JERUSALEM FEL Y MAE YN AWR.

Rhanna y ddinas ei hun yn ddwy, sef yr hên ddinas a'r ddinas newydd, neu y ddinas tu-mewn i'r muriau a'r ddinas tu-allan iddynt. Erbyn hyn y mae'n anhawdd penderfynu pa un ai y tu-mewn ynte y tu-allan i'r muriau y mae mwyaf o drigolion. Mae hyn yn sŷn iawn, oblegid dywed Syr Charles Wilson nad oedd yn y flwyddyn 1866 ddim adeiladau y tu-allan i'r muriau ond y Mynachdy Rwsiaidd, ac un neu ddau o dai bychain. Mae'r cynnydd mawr wedi bod mewn poblogaeth Iuddewig. Yn 1838, nid oedd mo'r 3000 o Iuddewon yn y ddinas, ond ymhen dwy neu dair blynedd ar ol hynny yr oedd y nifer wedi dyblu. Credir fod lawn dair rhan o bedair o'r boblogaeth bresennol, sef tua 40,000, yn Iuddewon. Yr amcangyfrif rydd Conder o'r boblogaeth bresennol, gan gynnwys y rhai tu-allan yn ogystal a'r rhai tu-mewn i'r muriau, ydyw rhwng 40,000 a 50,000, a'r Iuddewon tua 30,000.[1] Mae amcangyfrif Dr. Socin, feallai, yn gywirach, sef 60,000, a'r rheiny yn rhannedig fel hyn,—41,000 o Iuddewon, 7000 o Fahometaniaid, a 12,800 o Gristionogion, ac agos i hanner y rhai diweddaf yma yn Gristionogion Groegaidd. Nifer y Protestaniaid yn y ddinas, medd Dr. Socin, yw 1400. Mae'r Cristionogion eraill yn Babyddion, Armeniaid, Coptiaid, &c. Er fod yr Iuddewon chwe' gwaith mor luosog a'r Mahometaniaid, etto gan y rhai diweddaf y mae pob awdurdod yn y ddinas.

Gofala yr Iuddewon rhag dangos eu nerth a rhag gwthio ymlaen ddim hawliau; oblegid gwyddant eu bod hyd yn hyn at drugaredd

[1] Hyd y gwelwn, gorfod dibynu ar amcan-gyfrif ynghylch y boblogaeth yr ydys. Mewn cyfeiriadau blaenorol yn y llyfr rhoddasom 30,000 fel amcangyfrif Conder o boblogaeth y ddinas, ond ei amcan-gyfrif flynyddau yn ol oedd hwnnw; rhoddasom hefyd 6,300,000 fel rhifedi holl Iuddewon y byd yn y flwyddyn 1855, ond fel ffrwyth ymohebiaeth gyda swyddogion y *Mildmay Mission to the Jews*, yr ydym yn awr yn abl i roddi cyfrifon gwahanol. Hysbysir ni fod y cyfrifon diweddaraf fel a ganlyn:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Y nifer o Iuddewon | yn Jerusalem | ... ... | 41,000 |
| ,, ,, | yn Mhalestina | ... ... | 77,941 |
| ,, ,, | yn y byd | ... ... ... | 11,013,134 |

Os yw y cyfrif hwn yn safadwy, cawn fod Iuddewon Jerusalem, Palestina a'r byd wedi cynnyddu yn fawr iawn yn ddiweddar, a bod un o bob naw o Iuddewon y byd i'w cael yn y wlad roddwyd iddynt mewn Addewid.

y Mahometaniaid. Distaw ydynt, o ganlyniad, ynglŷn â phob materion gwleidyddol, a hynny er fod masnach y ddinas bron yn hollol wedi syrthio i'w dwylaw. Y Mahometaniaid sydd er's canrifoedd yn rheoli y ddinas. Pasha o apwyntiad y Sultan ydyw y pennaeth, a chydag ef y mae Cynghor yn gynnwysedig o naw o Fahometaniaid, un Iuddew ac un Cristion.

Anaml y ceir yn y ddinas ddim moddion adloniant, ac anaml hefyd y bydd yno afreoleidd-dra. Gyda machlud haul tawela'r ddinas, ac erbyn hyn y mae y brophwydoliaeth wedi d'od i ben—"y byddai y pyrth yn agored ddydd a nos"[1] fel danghosiad o ddyogelwch y lle. Tra y mae dinasoedd eraill, megys Cairo, Alexandria a Damascus, wedi eu gwneud yn debyg i ddinasoedd gorllewinol trwy fod ynddynt west-tai ardderchog, chwareu-dai, a phethau o'r fath, cawn fod Jerusalem yn aros o hyd yn ei chymeriad cynteflg o ddinas Ddwyreiniol. Mae Americanwyr, er engraifft, wedi cynnyg goleuo y ddinas gyda'r goleu trydanol, ond ni fynn y Twrc a'r Mahometan i hwnnw gymmeryd lle yr ychydig lusernau olew sydd yma a thraw ar hyd y ddinas. Nid oes ganddynt eisieu goleuni; nid oes ganddynt eisieu diwygiadau.

Nis gellir galw rhagor na thair o heolydd Jerusalem wrth yr enw o heolydd, rhyw lwybrau culion, ceimion, budron, a thywyll yw y mwyafrif mawr o dramwyfeydd y ddinas. Y ddwy heol bwysicaf yw Heol Dafydd a Heol Cristion. Mawr yw y budreddi ar hyd yr heolydd, ac etto, nid yw waeth nag mewn rhai dinasoedd dwyreiniol eraill, os gwaethed. Mae gan yr Iuddew a'r Cristion ryw gymmaint o esgus dros eu diffyg glendid, sef diffyg dwfr. Caniatteir i'r Mahometaniaid fyned at y cronfeydd helaeth o ddwfr sydd ar Faes y Deml. Rhaid i eraill, os heb gronfa o ddwfr gwlaw wrth eu tai, brynu dwfr, ac y mae nifer fawr o'r trigolion yn gwneud eu bywioliaeth trwy ei gludo, yr hyn a wnant fel rheol mewn llestri wedi eu gwneud o grwyn anifeiliaid.

Nid yr olwg sydd ar Jerusalem heddyw oedd arni yn amser Crist. Rhaid meddwl nid yn unig am y difrod y mae'r gelynion wedi ei wneud, eithr hefyd am y cyfnewidiad y mae'r tywydd wedi ei ddwyn oddiamgylch nes peri fod y bryniau wedi eu golchi i lawr i'r dyffrynoedd, a llawer llanerch oedd y pryd hynny yn ffrwythlon a phrydferth wedi eu gwneud yn foel a diffaeth. Yr

[1] Esaiah lx. 11.



GOLWG GYFFREDINOL AR Y DDINAS FEL Y MAE.

oedd trigolion y ddinas yn amser y Ceidwad, beth bynnag am eu rhif, yn llawer pwysicach na'i thrigolion presennol. Y pryd hynny yr oedd ynddi gasgliad rhyfedd o drigolion—y boneddigion pennaf yn y wlad, a'r tlodion truenusaf hefyd, y bobl fwyaf gwybodus, sef y rhai a berthynent i'r Coleg Cenedlaethol pwysig oedd ynglŷn â'r Deml, ac hefyd y werinos bobl nad oedd rhai mwy anwybodus na hwy i'w cael yn un-man. Yr oedd yno grefyddwyr selog yn Phariseaid a Saduceaid, ac yr oedd yno baganiaid cenhedlig yn meddwl mwy am ddifyrwch cnawdol nag am ddim arall. Yr oedd yno amryw ieithoedd yn cael eu llefaru. Iaith crefydd y wlad ydoedd yr Hebraeg, hon oedd iaith y Rabbiniaid a'r Offeiriaid yn ngwasanaeth y Deml. Iaith gyffredin y bobl oedd yr Aramaeg, sef ffurf Balestinaidd o iaith Semitaidd; hon ydoedd yr iaith arferid gan yr Iesu a'r disgyblion. Iaith y dieithriaid, fel rheol, oedd y Groeg, a hon yna, ynghyda'r Lladin, oedd ieithoedd y Llys a'r swyddogion Rhufeinig. Nid oes, o lawer, mo'r un bywyd a'r un mawredd yn y ddinas yn awr ag oedd yno yn amser Crist.

Mae un peth ynglŷn â Jerusalem heddyw sydd yn teilyngu iddi yr enw o *Ddinas Sanctaidd*, sef nifer ei haddoldai. Heb son am y lluaws sefydliadau yn perthyn i fynachod a lleianod, dywedir fod yno 200 o Synagogau Iuddewig,[1] 37 o addoldai (mosques) Mahometanaidd, a 25 o Eglwysi yn perthyn i'r Groegiaid, y Rhufeiniaid, yr Angliaid, &c. Ar tudalen 73 rhoddir darlun o "Bible Depot" yn perthyn i'r Feibl Gymdeithas—Frytanaidd a Thramor. Mewn undeb â Chenhadaeth Eglwys Loegr (C.M.S) y mae'r *Depot* yn Jerusalem. Gwasgerir yn flynyddol tua 4000 o gopïau o Air Duw, a hynny yn bennaf ymhlith y pererinion Rwsiaidd, Groegaidd ac Armeniaidd.

Mae yn y ddinas erbyn hyn helaethrwydd o sefydliadau addysgawl a dyngarol, a chryn gystadleuaeth rhyngddynt. Perthyna i'r Iuddewon nifer o ysgolion da, ac hefyd fath o ysbyttai. Yr un modd y mae gan y Groegiaid fynachdai, ysgoldai a sefydliadau eraill, ac yn eu mysg Genhadaeth Rwsiaidd. Y mae gan y Pabyddion hefyd nifer helaeth o fynachdai, o ysgolion ac o ysbyttai rhagorol, ac yn eu mysg ysbytty ar gyfer gwahangleifion. Nid yw yr Armeniaid tlodion ychwaith heb eu mynachdai a'u hysgolion. Mae gan grefyddwyr Dwyreiniol eraill, megys y

[1] Y nifer gan Dr. Socin ydyw 70.

Coptiaid, y Syriaid, a'r Abysiniaid, eu sefydliadau crefyddol. Arweinir yr Iuddewon gan y Prif-Rabbi—hên frawd heb urddas o gwbl o'i gwmpas. Mae gan Eglwys Groeg ei Phatriarch, a chan Eglwys Rhufain ei Phatriarch, a chan Eglwys Armenia ei Phatriarch, a phob un o honynt yn byw yn Jerusalem. Hyd y flwyddyn 1887 yr oedd gan Loegr a'r Almaen Eglwys Brotestanaidd yno yn cael ei chario ymlaen gan y ddwy wlad mewn undeb â'u gilydd, a'r ddwy wlad yn dewis esgob yr Eglwys honno bob yn ail. Erbyn hyn mae'r undeb wedi ei dorri. Gall y Protestaniaid Seisnig ymffrostio mewn meddu tair o eglwysi ynghyda nifer o ysgolion rhagorol, ac yn eu plith ysgol enwog Esgob Gobat. Ymysg y sefydliadau Prydeinig y mae gan y gymdeithas a adnabyddir fel "The Knights of St. John," ysbytty rhagorol y tu-allan i'r ddinas ar gyfer anhwyldeb ynglŷn â'r llygad. Nid yw yr Ellmyn am fod ar ol i'r Saeson. Mae ganddynt eglwys fawreddog adeiladwyd rhwng 1893 ac 1898, a nifer helaeth o sefydliadau dyngarol, ac yn eu mysg ysbytty rhagorol i wahangleifion. Ar awdurdod Proff. Socin yr ydym i ddeall fod yno rai canoedd o *Templars*, ac etto rhaid yw eu gwahaniaethu oddiwrth yr Urdd o Farchogion ddaethant i fod gyda'r Crwysgadwyr, a'r rhai y mae y *Temple* a'r *Temple Church* yn Llundain ymysg y llu o bethau sy'n cyfeirio yn ol attynt. Gelwid hwy yn Demlwyr am mai yng nghymmydogaeth y Deml yr oedd eu cartref. Eu gwaith oedd amddiffyn y pererinion Cristionogol dalent ymweliad â'r lleoedd sanctaidd. Mor bell ag y deallwn nid yw y Temlwyr Almaenaidd sydd yno yn awr yn Gristionogion o gwbl.

Feallai mai yn hollol briodol y dywedwyd fod Mahometaniaeth yn gymmaint o lwyddiant yn y byd oblegid i'r Prophwyd wneud y y grefydd honno yn fath o gyfuniad o bob crefydd, gwir a gau, ag y gwyddai am danynt. Dywedir mai tri pwnc mawr Mahometaniaeth ydynt: (1) Duw a'r angelion; (2) Y Datguddiad ysgrifenedig a'r Prophwydi; (3) Yr Adgyfodiad, Barn, ac Etholedigaeth. Un peth fydd yn help i ni gael syniad am Fahometaniaeth fydd cofio hyn—y rhoddir i Mahomed ei hun le yr Ysbryd Glân: efe yw y diddanydd y dywedodd yr Iesu am dano oedd yn myned i'w ddilyn Ef. Rhoddir i Weddi le hanfodol bwysig mewn Mahometaniaeth, ac y mae'r Mahometaniaid da yn rhwym o fod yn weddïwyr mawr. Gofynir i'r Iuddew weddïo dair-gwaith yn y dydd, a gofynir i'r Mahometan wneud hynny bum-waith.

Dechreua eu dydd gyda machlud haul. Mae'r weddi gyntaf i fod ychydig ar ol machlud haul, yr ail ar ddyfodiad yr hwyr, sef awr a hanner wedi machlud haul; y drydedd ar dorriad y wawr, y bedwaredd ganol-dydd, a'r bummed yn y prydnawn, sef ymhen tair awr ar ol y canol-ddydd. Gelwir y ffyddloniaid at y gwaith o weddïo gan yr hyn a elwir yn *Muezzim* neu *Mueddim.* Arfera swyddog crefyddol waeddi ar ben y gwahanol addoldai fod yr awr weddi wedi d'od. Mae'r waedd i'r perwyl yma—

> "Duw (Allah) sydd fawr. Yr wyf yn tystio nad oes yr un Duw ond Allah, a Mahomed ydyw prophwyd Allah: dewch i weddïo."

Mae'n arferiad ganddynt i ymolchi cyn gweddïo, fel rhai yn gweithredu yn ol yr egwyddor fod "glendid y nesaf peth at dduwioldeb." Os na bydd dwfr i'w gael i un ymolchi ar adeg yr awr weddi, caniatteir i'r dyn ymolchi mewn tywod yn lle mewn dwfr.

Mae'n werth i ni sylwi fod tri Sabboth yn cael eu cadw yn Jerusalem—y naill ar ol y llall. Treulir agos i hanner pob wythnos yn Sabbothau—sef Sabboth y Mahometaniaid ar ddydd Gwener; Sabboth yr Iuddewon ar ddydd Sadwrn, a Sabboth y Cristionogion ar ddydd Sul. Dydd Sabboth y Mahometaniaid ydyw dydd marchnad y ddinas. Yr oll o gadw Sabboth a ofynir oddiar y Mahometaniad ar y dydd hwnnw yw ei fod yn ymryddhau ac yn ymneullduo fel ag i allu addoli yn ystod awr y bryd-nawnol weddi. Gellir fel hyn yn ddibetrus ddyweyd fod crefydd Jerusalem yn un o'i neullduolion amlycaf. Mae crefydd yn Damascus yn ail-beth i fasnach y lle. Y mae i Fasnach, a Chwareuiaethau a rhwysg pechadurus leoedd pwysicach lawer yn Cairo nag a roddir i Grefydd. Mae llawer wedi ofni y byddai i bresennoldeb ymwelwyr, ac yn arbennig i ddyfodiad y rheilffordd i Jerusalem effeithio fel ag i wneud y ddinas yn llai crefyddol ac yn llai syml, ac nid heb sail yr ofnir hynny.

Cynnyddu y mae y ddinas, ac fe gynnyddasai fwy oni bae am y diffyg cysuron sydd yno. Yng nghyfeiriad y gogledd y mae yn cynnyddu, a hynny trwy fod trefedigaeth ar ol trefedigaeth o Iuddewon yn ymsefydlu yno. Mawr ydyw awydd yr Iuddew am allu dychwelyd i'w wlad, ond mewn trefn i lwyddo rhaid iddo fyned er gwaethaf ymdrechion y Twrc i'w gadw oddiyno. Un

drefedigaeth ddyddorol iawn a ymsefydlodd yn y lle yn ddiweddar yw yr un a adwaenir fel y *Bokhara*. Credir mai hiliogaeth y rhai a arhosasant yn nhir y Caethiwed yw y rhai hyn, a'u bod yn awr yn dychwelyd i'r wlad ar ol bod am dros ddwy fil a a hanner o flynyddoedd yn alltudiedig. Gall y rhai hyn hefyd, pe dewisent, ymgysuro na ddarfu i'w hynafiaid hwy fod â llaw mewn Croeshoelio yr Iesu o Nazareth, ac nas gellir gofyn ei waed Ef oddiarnynt hwy.



## DYFROEDD JERUSALEM.

Mae hwn yn fater eang, ac fel cwestiwn o astudiaeth yn un gwir ddyrus. Pa ymdrechfa bynnag sydd wedi cymmeryd lle yn hanes y ddinas, nid oes yr un fwy difrifol na'r ymdrechfa am ddwfr. O leiaf, y mae mwy o olion yr ymdrechfa hon ar gael yn y lle yn awr na'r un ymdrechfa arall. Ond er y draul a'r drafferth enfawr a fu rywbryd am ganrifoedd meithion ar waith ynglŷn â hyn, gofidus yw gorfod dyweyd fod y ddinas yn awr yn dyoddef yn enbyd oblegid diffyg cyflenwad o ddwfr da. Dibynu yn helaeth ar ddwfr gwlaw y maent yn awr, ac y mae pob arwydd fod y ddinas wedi bod i raddau yn dibynu ar hynny drwy'r oll o'i hanes. Mae Dr. Chaplin[1] wedi gwneud astudiaeth fanwl o dywydd Gwlad Canaan, ac yngwyneb y ffeithiau gasglwyd ganddo gwelir nad oes dim yn nodweddu tywydd y wlad i'w gwneud yn wlad at-dyniadol. Mae'r swm o wlaw ddisgyna yn Jerusalem mewn blwyddyn tua'r un faint a'r swm ddisgyna yn Llundain; ond yn Jerusalem, er hynny, eithriad yw cael cawod o wlaw rhwng dechreu Mai a diwedd Hydref, ac y mae mwy na chwarter yr hyn dderbynir mewn blwyddyn yn disgyn yn Ionawr. Mae yn perthyn i bob tŷ yn y ddinas ddyfr-gist neu gistiau, ac yn ystod y gwlawogydd cesglir iddynt gymmaint ag a ellir. Tystiai perchenog gwestty unwaith fod ganddo ddigon o gyflenwad am dair blynedd. Ond y rheol yw fod y dwfr erbyn yr Hydref bob blwyddyn wedi myned yn brin iawn, ac ymhell iawn o fod yn dda. Yn ychwanegol at y dyfr-gistiau sydd wrth y gwahanol dai, y mae yn y ddinas nifer helaeth o gronfeydd pwysig iawn at wasanaeth y ddinas. Mae nifer o honynt yn llynnoedd agored, a nifer yn bydewau tan-ddaearol.

Ni a sylwn yn gyntaf ar y llynnoedd sydd y tu-mewn i'r ddinas. (1) Ym mhen gogledd-ddwyreiniol y Deml y mae llyn helaeth yn myned dan yr enw *Birket Israel.* Er ei fod gerllaw maes y Deml y mae 69 o droedfeddi yn îs na'r maes hwnnw. Mae wedi bod yn grêd er y 12fed ganrif mai hwn yw y Llyn Bethesda y cyflawnodd yr Iesu un o'i wyrthiau wrth ei ymyl.

(2) Yn agos i Antonia y mae'r hyn a elwir yn *Llyn dwbl,* neu *Ddeu-lyn* (Twin-pools), a cheir fod sianel yn cludo dwfr i mewn

[1] P. E. F., 1883 a 1898. Hefyd Glaisher, 1898.

iddo o gyfeiriad Porth Damascus. Credai Eusebius[1] ac eraill er y canrifoedd cyntaf mai hwn ydoedd Llyn Bethesda.

(3) *Llyn Hezeciah*, yr hwn dderbynia yr enw am y credir mai atto ef y cyfeirir yn 2 Bren. xx. 20. Hwn, yn ddiau, yw yr *Amygdalon*[2] y sonia Josephus am dano, ac y mae pob lle i gredu ei fod yn hên lyn.

(4) *Llyn Bethesda.* Oddiwrth yr hyn ddywedwyd eisoes gwelir fod gwahanol farnau am safle Llyn Bethesda. I bob ymddangosiad nis gall y traddodiadau hynny fod yn iawn sydd yn gwneud allan mai y Llyn-dwbl ac mai Birket Israel yw Bethesda, oblegid ceir mai llynnoedd o wneuthuriad cydmarol ddiweddar yw y rhai hyn, a'u bod wedi eu gwneud o'r ffôs o amddiffynfa a redai gyda gogledd Antonia.[3] Mae Dr. Robinson, a Conder ar ei ol, yn barnu mai wrth Bethesda yr ydys i olygu Ffynnon y Forwyn yn Nyffryn Cedron.[4] Yn ddiweddar, modd bynnag, y mae llyn arall wedi d'od i'r golwg, a llawer yn barnu mai hwnnw yw y gwir Lyn Bethesda. Saif 400 o droedfeddi i'r gogledd o Birket Israel, a 100 o droedfeddi i'r gorllewin oddiwrth Eglwys Ffrencic St. Ann. Pydew ydyw wedi ei naddu i lawr i'r graig, ac yn mesur 55 x 13 o droedfeddi. O ran ei safle cyfettyb i'r hanes Beiblaidd yn Ioan v.; oblegid, yn un peth, ceir mai i'r gogledd o'r Deml yr oedd Porth y defaid. Hwn, yn ol desgrifiad Jerome yn y 4edd ganrif, oedd y Bethesda, a hwn oedd y Bethesda hefyd ynghyfrif y Crwysgadwyr, y rhai a adeiladasant eglwys dros y llyn. Mae y llyn ar hyn o bryd o dan ddwy eglwys—y naill uwchben y llall.[5] Cyrhaeddir y llyn drwy fyned i lawr 24 o risiau o dan yr eglwys neu'r eglwysi. Mae yno helaethrwydd o ddwfr, ac ar adegau hefyd y mae y dwfr yn llêd anwastad ei symmudiadau—yn ol fel y bydd y cyflenwad a rêd i mewn iddo. Ar un o furiau y llyn

[1] Felly yn yr Onomasticon.

[2] Golyga Amygdalon Lyn y Tyrau. Enw arall etto arno yw *Birket Hammam-el-Batrak*, neu Ymdroch-lyn y Patriarch. Cludir dwfr iddo dros y dyffryn o *Lyn Mamilla*, yr hwn yn lled gyffredin a elwid yn *Llyn uchaf Gihon* hyd yn ddiweddar iawn. Ar hyn o bryd, fel y ceir sylwi, lleolir Gihon yn nyffryn Cedron.

[3] Conder yn Ngeiriadur Hastings.

[4] P. E. F., Gorph., 1888; Ion., 1890.

[5] P. E. F., 1901.

darganfyddwyd darlun henafol iawn yn gosod allan "yr angel yn cynhyrfu y dwfr." Mae Dr. Henderson ac eraill yn gryf o'r farn fod Bethesda o'r diwedd wedi ei ganfod yn ddiamheuol. Dyma fe.

Cyn sylwi ar y llynnoedd a'r ffynhonau sydd tu-allan i'r ddinas, rhaid sylwi ar y pydewau tan-ddaearol sydd tu-mewn i'r muriau. Mae y rhai hyn yn lluosog iawn. Dywed Conder, yr hwn fu'n chwilio yn ofalus i'r mater, fod cyn gymmaint a 37 o bydewau o dan faes y Deml yn unig, a'r rhai hynny wedi eu gwneud yn ofalus trwy naddu yn y graig. Dywedir y gall yr un a elwir yn Fôr Mawr gynnwys tua dwy filiwn o alwyni o ddwfr ar y pryd. Yn bresennol dwfr gwlaw yn bennaf sydd yn myned i'r dyfrgistiau hyn, ond yn yr hên amseroedd llenwid hwy hefyd gan ddwfr gludid iddynt o Lynnoedd Solomon. Yr oedd un ddyfrffos yn d'od drwy Bethlehem ac yn croesi yr Hinnom a Sïon, ac yna yn arllwys ei chynnwys i'r Haram. Yr oedd un arall ddiweddarach, a honno yn cael ei galw y ddyfr-ffos uchel (high-level aqueduct), ac yn cael ei galw felly oblegid ei bod, pan gyrhaeddai Borth Damascus, yn 20 troedfedd uwchlaw lefel y ddinas. Credir mai gwaith Herod Fawr oedd y ddiweddaf yma, ond fod y llall yn llawer mwy henafol.

### *Llynnoedd Siloam.*

Yn awr deuwn at y ffynhonau a'r llynnoedd sydd tu-allan i'r ddinas, ond yn nghymmydogaeth y ddinas. Ymysg y rhai hyn y mae *Llynnoedd Siloam.* Mae'r enw i'w gael mewn gwahanol ffurfiau—Siloa, Siloam, Shelah, ac yn yr Arabaeg Ain-Silwan a Birket Silwan. Mae dau lyn Siloam yn bod—yr uchaf a'r isaf, a'r ddau yn gorwedd lle y cyferfydd dyffrynoedd y Cedron a'r Tyropean. Mesura yr uchaf 50 x 15 o droedfeddi, a'r isaf 52 o droedfeddi yn ysgwar. Yn adeg y Rhufeiniaid ceir fod yr uchaf yn fwy nag yw yn awr, ac yn mesur 50 o droedfeddi yn ysgwar.[1] Nid oes y petrusder lleiaf yn bod ynghylch Siloam. Mae Neh. iii. 15 yn penderfynu ei safle. Yr oedd ei fûr yn taro ar erddi Solomon, ac yr oedd gerddi Solomon islaw ei balas ar lethr Ophel. Dywed Josephus hefyd fod Siloam yn y Tyropean. Mae safle y llynnoedd yn cyfatteb i'r lluaws cyfeiriadau wneir attynt yn yr Ysgrythyr. Mae'r cyfeiriadau cyntaf

[1] "Excavations at Jerusalem," gan Bliss a Dickie, 1894—1897.

at y ddau lyn i'w cael yn Esaiah, lle y sonir am "y llyn uchaf ym mhrif-ffordd maes y pannwr," ac am "y pysgodlyn isaf;"[1] ac hefyd am "ddyfroedd Siloah, y rhai sydd yn cerdedd yn araf."[2] Cydnabyddir mai ystyr y gair Siloah yw anfonedig neu arweiniedig (conducted), a chymmerir cerddediad araf neu



[LLYN SILOAM.]

ddistaw dyfroedd Siloah fel yn cyfeirio at y cludo oedd ar y dyfroedd o'r naill lyn i'r llall.

Pethau dyddorol iawn ynglŷn â'r dyfroedd hyn yw y cyssylltiadau sydd wedi eu gwneud rhyngddynt fel ag i gludo y dwfr o'r

[1] Esaiah vii. 3, xxii. 9. [2] Esaiah viii. 6.

naill fan i'r llall. Yr oedd yn hên wybyddus fod y dwfr yn rhedeg o'r Siloam uchaf, neu *Birket Silwan*, i'r Siloam isaf, neu *Birket-el-Hamra*, ac oddiyno i lawr Dyffryn Cedron; ond nid oedd yn wybyddus fod y dwfr wedi ei gludo, yn gyntaf oll, o Ffynnon y Forwyn i Birket Silwan. Darganfyddiad pwysig iawn ydoedd darganfod y dan-ffordd (tunnel) yn cludo'r dwfr ar y cychwyn o'r darddell hynod yn Nyffryn Cedron. Yr oedd Dr. Robinson, Syr Charles Warren, a Syr Charles Wilson wedi deall fod yno dan-ffordd, ond yn 1880 ychwanegwyd at bwys a dyddordeb y darganfyddiad yna drwy i hogyn bach ganfod ysgrifen ar fûr y dan-ffordd nad oedd neb o'r blaen yn gwybod am dani. Yr oedd Proff. Sayce ym Mhalestina ar y pryd, a gwnaeth allan ystyr gyffredinol yr ysgrif. Yn y flwyddyn ddilynol bu Dr. Guthe, y darganfyddwr Almaenaidd, yn astudio y darn ysgrif, a thua'r un adeg cymmerwyd copi (squeeze) o honi gan Conder. Dyma, meddai Sayce, yr ysgrif Hebreig hynaf ar gael, a chynhwysa ddesgrifiad o'r modd y gwnaed y dan-ffordd. Dywedir eu bod yn gweithio o'r ddau ben, ac iddynt gyfarfod tua'r canol, ar ol bod am yspaid yn clywed lleisiau eu gilydd drwy y graig. Mae'n bur debyg fod y dan-ffordd wedi ei gwneud o leiaf yn yr 8ed ganrif cyn Crist, pan y gwnaed gwaith pwysig o'r fath yn ystod teyrnasiad y tri brenhin, Uzziah, Jotham, a Hezeciah. Ar bwys 2 Brenhinoedd xx. 20 credir mai Hezeciah a wnaeth y dan-ffordd.[1] Ni ddarganfyddwyd y dan-

[1] Mae Proff. Sayce yn ei "Fresh Light from the Ancient Monuments" yn rhoddi hanes dyddorol am ddarganfyddiad yr Ysgrif henafol. Rhydd hefyd ddarlun o honi, sef yr un wnaed gan Conder a Mantell yn Gorphenaf, 1881. Dywed nad yw yr ysgrif yn rhoddi dim help i benderfynu pwy a wnaeth y dan-ffordd. Nid yw ef yn barod i gydolygu, ar bwys 2 Bren. xx. 20 a 2 Chron. xxxii. 30, mai Hezeciah frenhin a'i gwnaeth; oblegid dealla oddiwrth Esaiah viii. 6 ei bod i'w chael yn amser Ahaz, tad Hezeciah, ac o ganlyniad barna ei bod wedi ei gwneud yn amser Solomon. Golyga Sayce hefyd mai ystyr y gair Siloah yw tan-ffordd (tunnel). Cyfettyb iaith yr ysgrif i iaith y Garreg Foabaidd. Gan ei bod yn ysgrif mor enwog, rhoddwn gyfieithiad o honi. Cynnwysa chwech o linellau fel hyn:—

(1) Wele'r cloddio fu! Dyma hanes y cloddio. Tra yr oedd y cloddwyr yn codi y
(2) pïg (pick), bob un tuag at ei gymmydog, a thra yr oedd etto yn aros dri chufydd i'w gloddio, gwaeddodd llais
(3) ar ei gymmydog, a deallasant fod gormod o graig ar y dde, tiriasant felly ar orllewin yr
(4) agorfa. Ar ddydd y cloddio tarawai y cloddwyr bïg yn erbyn pïg.
(5) Yna llifodd y dwfr o'i darddell i'r llyn am bellder o 1200 cufydd.
(6) Tair rhan o bedair o gufydd oedd y graig uwchben y cloddwyr.

ffordd o ben i ben am beth amser, ond o'r diwedd llwyddodd Dr. Schick, Conder ac eraill i wneud hynny rhwng 1880 a 1886.[1] Ceir ei bod o ran hŷd yn 1708 o droedfeddi. Mae hyn yn llawer mwy na'r pellder yn syth o'r Ffynnon i'r Llyn, a chyfrifir am hyn drwy fod amryw droadau yn y dan-ffordd. Mae y troadau hyn a'r amrywiaeth ym maintioli gwahanol rannau o'r dan-ffordd yn peri ei bod yn ffurfio math o gam-bibell (syphon) naturiol, nes fod y dwfr yn d'od i Siloam gyda rhyw ruthriadau sydyn ac anwastad. Y gwir yw fod math o lanw a thrai yn hanes y llyn. Ar ol rhuthro i mewn gyda nerth a chyflymdra am beth amser ymattalia a gostynga y dyfroedd am amser ammhennodol. Y gwlawogydd sydd yn cyfrif am yr amrywiaeth yn y cyflenwad o ddwfr, a ffurf y dan-ffordd, fel y sylwyd, sydd yn cyfrif am y rhuthriadau. Rhaid i draddodiad gael d'od i mewn i gynnyg ei esboniad yn y fan hon hefyd. Mae'r dwfr, medd rhai, yn d'od o Sïon; o Siloh medd eraill; ond yn d'od o Mecca bellennig medd y Mahometaniaid. Ond penderfyna y darganfyddiadau wnaed yn 1880—1886 o ba le y dêl y dwfr. Yn ddiweddarach na hynny, mor ddiweddar a 1901, y mae darganfyddiad pellach wedi ei wneud, ac y mae y clod am dano yn perthyn i Dr. Masterman a Dr. Schick.[2] Y cwestiwn oedd—o ba le yr oedd Llyn isaf Siloam yn derbyn ei gyflenwad? Yr oedd yn ei dderbyn, fel y credid, o'r llyn uchaf, ac yr oedd sianel yn cyssylltu'r ddau lyn. Yr oedd Dr. Schick wedi sylwi fod sianel hefyd yn cychwyn o'r llyn isaf yn nghyfeiriad Ffynnon y Forwyn, ac yn y flwyddyn yna (1901) gwnaeth Dr. Masterman, mewn undeb â Dr. Schick, y peth yn eglur fod ffôs yn rhedeg o Ffynnon y Forwyn i'r Llyn isaf. Tra y mae'r dan-ffordd drwy graig Ophel yn cyssylltu y Llyn uchaf â'r Ffynnon, y mae ffôs gauedig, ond heb fod lawer islaw'r wyneb, yn cyssylltu y Llyn isaf â'r Ffynnon. Y farn, o ganlyniad, yn awr yw mai y Llyn isaf yw yr hynaf. Sonia Esaiah am dano, nid fel "pysgodlyn isaf," ond fel yr "hên bysgodlyn." Dyogelwyd dyfroedd y Ffynnon ac amcanwyd eu cadw rhag y gelyn drwy eu cludo yn gyntaf oll i'r Llyn isaf. Yn ddilynol i hynny gwnaed hyn yn fwy effeithiol drwy eu cludo i'r Llyn uchaf. Gall mai yn amser Hezeciah y gwnaed y cyssylltiad diweddaf yma, a bod y llall yn bod yn amser Ahaz, ac wedi ei wneud yn amser Solomon. Yr enw arno, o ganlyniad, gan Dr. Russell Forbes yw Llyn Solomon. Ar un adeg yr oedd llwybr a nenfwd (arcade) drosto yn bod wrth y Llyn uchaf. Felly yr

[1] Conder's Palestine. [2] P. E. F., 1901, 1902.

oedd yn amser ein Ceidwad. Ymddengys fod iachâd y dall, yn un peth, wedi rhoddi i ddyfroedd Siloam, yn ol syniad y bobl, gymeriad meddyginiaethol, a pheri i ysbytty gael ei chodi gerllaw i'r llyn.

Credir mai wrth *Dŵr Siloam*[1] yr ydym i olygu un o dyrau y ddinas ag oedd yn agos i'r llyn. Wrth *bentref Siloam* (yr hwn a dderbynia ei enw oddiwrth y llyn) yr ydym i ddeall y pentref a adnabyddir wrth yr enw hwnnw yn awr, ac a saif gyferbyn â'r ffynnon ar odrau yr Olewydd.

### *Ffynnon y Forwyn.*

Yn awr deuwn i sylwi ar y ffynnon bwysig ac enwog a adnabyddir fel *Ffynnon y Forwyn,*[2] hynny yw *Ain Sitti Miriam,* neu yn ol enw arall, Ffynnon y grisiau—*Ain Umm Derraj.* Gelwir hi wrth yr enw olaf am fod 30 o risiau yn arwain i lawr iddi, ac wrth yr enw cyntaf oblegid i Mair y Forwyn, yn ol y traddodiad, fod yn defnyddio ei dwfr, yn un peth, i olchi y baban a'i ddillad. Nid oes sicrwydd fod unrhyw darddell dwfr yn nghymmydogaeth Jerusalem heblaw hon; a dyma, wrth gwrs, sy'n cyfrif am ei bod yn cael ei chyssylltu gyda lleoedd eraill. Mae'n sicr na bu y ffynnon erioed y tu-mewn i furiau'r ddinas. Buasai hynny yn ddaearyddol a daearegol ammhosibl. Credir fod un os nad y ddau o lynnoedd Siloam ar un adeg y tu-mewn i'r muriau. Oddiwrth 2 Chron. xxxii. 2—5 tueddir rhai i feddwl am y bobl yn cludo dyfroedd y ffynnon fel ag i fod y tu-mewn i'r ddinas, a hynny er mwyn i'r trigolion ar adeg gwarchae gael y dwfr, ac i'r gelynion beidio ei gael. Hyd yr ymddengys nid yw dwfr Ffynnon y Forwyn wedi bod ar unrhyw adeg yn ddwfr neullduol o dda.[3] Mor ddiweddar a 1901 glanhawyd y ffynnon pryd yr oedd Dr. Adam Smith a Dr. Schick yn bresennol gyda'r Pasha, yr hwn a arolygai

[1] Luc xiii. 4.

[2] Mae pwysigrwydd y ffynnon hon i'w weled yn ngoleuni yr amrywiol enwau sydd arni—*Ffynnon y Forwyn Fair*, *Ffynnon y Grisiau*, *Gihon* fel y bernir yn awr, *Bethesda* fel y bernir gan Robinson, Conder, &c., *En-rogel* fel y bernir gan Wilson ("Picturesque Palestine"), Conder, Henderson, Stenning (Hastings), *Pysgod-lyn y brenhin* (Neh. ii. 14) fel y bernir gan rai.

[3] Yn ei gyfeiriadau at ddyfroedd Siloam dysga Josephus—
(1) Fod yno gyflawnder o ddwfr.
(2) Ei fod yn ddwfr peraidd.
(3) Fod un o'r llynnoedd tu-mewn i'r ddinas.

y gwaith. Canlyniad hyn ydyw fod yn y ffynnon yn awr well dwfr a mwy o hono. Yn ddysbeidiol (intermittent) y cyfyd y dwfr yn y ffynnon, a chredir fod elfen feddyginiaethol yn perthyn iddo, gyda'r canlyniad fod y rhai sy'n dyoddef oddiwrth y gewynwst yn arfer ymdrochi ynddo. Mae mwy nag un eglwys wedi eu codi uwchben y ffynnon, a'r tebyg yw i'r olaf o honynt gael ei dinystrio tua dechreu y 7fed ganrif.

### *Ffynnon Job.*

Mae un ffynnon arall i ni sylwi arni, a honno yn un bwysig. Mae'n debyg ei bod yn bwysicach yn nghyfrif y trigolion na'r un llyn na ffynnon sydd y tu-allan i'r ddinas. Yr enw cyffredin ar y ffynnon honno yw *Bir Eiyub*, neu Ffynnon Job. Saif i lawr Dyffryn y Cedron, tua mil o droedfeddi yn îs na Llyn isaf Siloam, ac yn îs hefyd na'r fan lle y cyferfydd y Cedron a'r Hinnom. Nid yw yn hollol sicr a oes tarddell dwfr yn y ffynnon, ynte mai cronfa yw yn unig i ddwfr a rêd iddi o'r gwahanol ddyffrynoedd. Mawr yw y cludo sydd yn feunyddiol ar y dwfr o Bir Eiyub. Cerir ef mewn piserau ac mewn crwyn, a dygir ef i'w werthu yn y ddinas. Cŷst llond croen gafr o hono tua tair ceiniog, ond yn aml iawn ceir y byddis wedi hanner lenwi y croen gydag awyr, fel y byddo i'r baich drwy hynny fod yn ysgafnach. Mae'r ffynnon hon yn 125 o droedfeddi o ddyfnder; nid yn aml y mae y dwfr ynddi yn pallu, ac y mae yn llawer gwell dwfr na dwfr Ffynnon y Forwyn.

### *Gihon.*

Mae dwy etto o ffynhonau Jerusalem y rhaid sylwi arnynt. Hyd yn ddiweddar nid oedd gwybodaeth ddyogel ynghylch y naill na'r llall o honynt. Un yw *Gihon*.[1] Mae rhai yn barnu mai enw ar ardal ydyw, ond y mae'r cyfeiriadau yn ffafrio ffynnon ag oedd yn un o gyrchfeydd pobl y ddinas. Daliai Dr. Robinson ac amryw eraill mai ar y gorllewin i'r ddinas ym mhen uchaf Dyffryn Hinnom, neu *Wadi-er-Rebabi*, yr ydym i geisio Ffynnon Gihon. Daliai Canon Williams[2] ei bod yn fwy gogleddol drachefn, ac mai oddiwrthi hi y rhedai y ffôs sydd yn cyssylltu Porth Damascus â'r Haram. Ynglŷn â hyn cawn fod "Llythyrau Aristeas," fel eu gelwir, yn nodi fod yn perthyn i'r Deml ei tharddell helaeth o

1 Bren. i. 33—45. [2] Holy City.

ddyfroedd.[1] Mae cred am darddell (spring) felly wedi bod ar lêd, a chred hefyd mai Gihon ydoedd ei henw. Ond nid oes sail i'r cyfryw gred. Hyd yn ddiweddar iawn yr oedd pob llyfr a phob map yn gosod Gihon ar ochr ollewinol y ddinas, ond bellach golygir yn wahanol. Penderfynir safle Gihon gan 2 Chron. xxxiii. 14. Cyfieithiad Dr. Adam Smith o'r frawddeg yw—"o du y gorllewin i Gihon yn y Nahal," ac wrth y Nahal y golygir dyffryn Cedron. Cadarnheir hyn gan dystiolaeth daearegwyr—fod yn ammhosibl meddwl am darddelli oddigerth yn Nyffryn Cedron. Mae ystyr y gair Gihon, sef arllwysydd (pourer), a phob peth ddywedir ynghylch Gihon, yn peri i Dr. Adam Smith farnu mai enw arall ydyw ar Ffynnon y Forwyn. Dyna farn yr holl brif awdurdodau erbyn hyn. I Conder y perthyn yr anrhydedd o fod y cyntaf i farnu felly.[2] Daeth Guthe ymysg eraill i gydolygu, ac yn ddiweddaf oll cawn Dr. Benzinger, yn llyfr Hilprecht, 1903, yn dyweyd fel y canlyn:—"There gushes forth at the eastern base of the eastern hill the copious perennial St. Mary's Well, as it is now called, which doubtless corresponds to the ancient Gihon, 1 Kings i. 33." Gellir fel hyn ddyweyd fod y cwestiwn ynghylch Gihon wedi ei benderfynu. Sylwer felly fod Gihon, neu Ffynnon y Forwyn, wrth droed Ophel yn nyffryn Cedron.

### *En-rogel.*

Mae llawer mwy o ansicrwydd a mwy o anhawsder ynglŷn â ffynnon arall, sef *En-rogel*. Cyfeirir atti yn Jos. xv. 7, xviii. 16; 2 Sam. xvii. 17; 1 Bren. i. 9. Dywed Josephus ei bod wrth y "gerddi brenhinol," yr hyn a olyga ei bod lle y cyferfydd dyffryn y Cedron gyda dyffryn y Tyropean. Oblegid y cyfeiriadau wneir atti y mae wedi derbyn yr enw o *Ffynnon y Pannwr*. Y cwestiwn mewn dadl ynghylch En-rogel yw—ai yr un ydyw a Ffynnon y Forwyn, ynte yr un a Ffynnon Job, ynte un i'w gwahaniaethu oddiwrth y ddwy. Yn gyntaf oll cawn amryw o'r awdurdodau yn cymmeryd En-rogel fel enw arall ar Ffynnon y Forwyn. Felly Stenning (Hastings), Syr Charles Wilson ("Picturesque Palestine"), Henderson (Palestine), Conder, &c. Y prif bethau ymhlaid y golygiad yw mai hon yw yr unig darddell sicr yn y dyffryn ac yn nghymmydogaeth y ddinas,

[1] Sonia Tacitus am "fons perrennis aquae" oddi-fewn i'r cylch cyssegredig.

[2] Efe oedd y cyntaf i brofi mai yr hyn a elwir yn Ffynnon y Forwyn yw yr hên Gihon. Gwel "Gihon" yn Ngeiriadur Hastings.

ac hefyd fod "maen Zoheleth," ag y sonir am dano yn 1 Bren. i. 9, gerllaw i Ffynnon y Forwyn. Mae M. Clermont Ganneau[1] yn gwneud allan mai yr un yw hwnnw a'r *es-Zehweleh*, neu y clogwyn sydd ar y ffordd i bentref Siloam. Mae eraill drachefn yn gwneud allan mai yr un yw En-rogel a Bir-Eiyub, a chan nad beth a ddygir ymlaen yn erbyn hyn, teimlwn fod mwy o rym yn yr hyn a ddŷg Dr. Adam Smith ymlaen er dangos mai nid dau enw gwahanol yw Gihon ac En-rogel ar yr un ffynnon, hynny yw, ar Ffynnon y Forwyn. Noda Dr. Smith fod yr hanes yn 1 Bren. i. yn gofyn am i ni feddwl am ganlynwyr Adoniah a chanlynwyr Solomon—y naill yn En-rogel a'r lleill yn Gihon. Pe dywedem mai Bir-Eiyub yw En-rogel byddai 700 o latheni rhwng y ddau barti, a byddent yn yr un dyffryn hefyd. Golyga Dr. Benzinger (Hilprecht) ei fod bellach yn lled sicr mai En-rogel yw Bir-Eiyub. Ond os nad Bir-Eiyub yw, rhaid meddwl am ryw ffynnon arall, fel y dywed Dr. Adam Smith, wahanol i Gihon neu Ffynnon y Forwyn, a honno erbyn hyn wedi diflanu; a phan gofiom y daeargrynfäu sydd wedi bod yn y lle (megys yr un yn amser Uzziah), peth hawdd yw meddwl am ffynnon yn diflanu, neu yn cael ei symmud gan ddigwyddiad felly. Fel hyn yn bresennol y saif y cwestiwn ynglŷn â dyfroedd dyffryn Cedron. Yr ydym i feddwl am y darddell gyfoethog—Ffynnon y Forwyn neu Gihon (neu En-rogel yn ol rhai) yn anfon ei chynnwys ar hŷd y dan-ffordd i Lyn uchaf Siloam, ac hefyd ar hŷd y ffôs i Lyn isaf Siloam, a meddwl drachefn am ddyfroedd y dyffrynoedd yn ymgrynhoi yn Ffynnon Job neu Bir Eiyub, yr hon hefyd, feallai, yw En-rogel.

Ar un adeg yr oedd dinas Jerusalem yn meddu cyflenwad ardderchog o ddwfr. Nid oedd dinas yn y byd yn meddu gwell cyflenwad. Ar hyn o bryd y mae'r cyflenwad yn druenus a gwaradwyddus. Ac etto y mae'n ffaith anwadadwy fod y foneddiges Burdett Coutts ac eraill wedi cynnyg dro ar ol tro roddi i'r ddinas waith dwfr ardderchog yn hollol rad!

[1] P. E. F., 1869, 1870.

## DYFFRYNOEDD JERUSALEM.

Oni bae am ei dyffrynoedd a'i bryniau ni buasai y ddinas enwog hon yn bod. Er cael syniad am y dyffrynoedd byddai yn dda i'r darllenydd ddychymmygu neu ddarlunio iddo ei hun ddwy linell yn cyfarfod mewn pwynt deheuol, ac yn pellhau oddiwrth eu gilydd yn nghyfeiriad y gogledd. Mae'r ddwy linell hyn—ni a alwn yr orllewinol yn A a'r ddwyreiniol yn B—yn cynrychioli y ddau brif ddyffryn, sef yr Hinnom a'r Cedron. Yna meddylier am linell arall, yr hon a alwn yn C, yn rhedeg rhwng A a B ac yn ymgyssylltu â B ychydig cyn iddi gyrhaedd A. Bydd i'r llinell yma gynrychioli y trydydd dyffryn, sef y Tyropean. Wedi hynny yr ydym i feddwl am linell yn rhedeg ar draws o A i C, yr hon a gynrychiola gainc o'r Tyropean yn ysgaru rhwng Acre ar y gogledd a Sïon ar y dde. Yn ddiweddaf oll yr ydym i feddwl am ddwy linell yn rhedeg o C i B. Mae'r ogleddol o honynt yn ysgaru rhwng Bezetha a Moriah, a'r ddeheuol yn ysgaru rhwng Moriah ac Ophel.

Perthyna i'r ddinas ei dau brif ddyffryn, y rhai sydd y tu-allan iddi, a'i phedwar dyffryn eraill, y rhai sydd y tu-mewn iddi. Prin y gwelir ar y wyneb yn awr ddim o olion y pedwar diweddaf; gwelir wrth graffu ychydig o olion y Tyropean yn unig. Hyd nes y gwnaeth Syr Charles Warren ei ymchwiliadau dan wyneb y tir, nid oedd gwybodaeth fod y Tyropean yn ddyffryn mor helaeth. Heb y wybodaeth hon yr oedd Robinson, Tobler, ac awduron eraill, a bu y darganfyddiad o'r dyffryn gan Warren yn foddion i daflu goleuni helaeth ar lawer cwestiwn. Meddylier am yr Hinnom yn rhedeg gydag ochr orllewinol y ddinas, y Cedron yn rhedeg gyda'i hochr ddwyreiniol, a'r Tyropean yn rhedeg trwy ei chanol, a'r tri hyn yn cyfarfod yn ei phen deheuol, ac oddiyno fel un dyffryn yn rhedeg yn nghyfeiriad y Môr Marw, a bydd gan un syniad lled glir am y ddinas fel yr oedd adegau pwysicaf ei hanes.

### *Dyffryn Hinnom.*

Derbynia y dyffryn gorllewinol ei enw ar ol ei berchenog, sef "mab Hinnom" (*mab* Hinnom yw yn ol y Cyf. Diwygiedig o Jos. xv. 8, ond *meibion* Hinnom yw yn ol y Cyf. Awdurdodedig).

Nid yw yn arferiad erbyn hyn i alw y dyffryn nac unrhyw ran o hono wrth yr enw *Gihon*. Mae'r map sydd gennym o "Jerusalem (modern) yn galw y rhan uchaf o'r dyffryn wrth yr enw hwnnw, a hynny oblegid y grêd mai yn y dyffryn hwn y mae dyfroedd Gihon i'w cael. Gwir fod Bartholomew yn ei fap o Jerusalem yn Ngeiriadur Hastings yn syrthio i mewn â'r gred yna, ac yn galw y ddau lyn sydd yn y dyffryn yn Ddyfroedd uchaf a Dyfroedd isaf Gihon. Ond fel y sylwyd, y grêd fwyaf cyffredin yn awr yw mai Ffynnon y Forwyn yn nyffryn Cedron yw y Gihon yn 1 Brenhinoedd ac 2 Chronicl, a hwnnw, wrth gwrs, i'w wahaniaethu oddiwrth y Gihon yn Gen. ii. 13. Gwell felly yw peidio edrych am Gihon ar ochr orllewinol y ddinas o gwbl. Yn lle sôn am Ddyfroedd uchaf Gihon dylid sôn am *Birket Mamilla*, ac yn lle sôn am Ddyfroedd isaf Gihon sôn am *Birket es Sultan*.

Mae'r rhan o ddyffryn Hinnom sydd gydag ochr clogwyn Sïon yn gûl a dwfn. Yr enw presennol ar y rhan isaf yna o'r dyffryn yw *Wadi-er-Rebabi*, a'r hên enw ydoedd Tophet, enw yn arwyddo tân. Yn ol awduron Iuddewig mae'r rhan gyntaf o'r enw, sef Toph, yn golygu tabwrdd, a derbyniodd y dyffryn yr enw oblegid yr arferiad o chwareu tabwrdd er mwyn boddi ysgrechleisiau a griddfannau y plant druain a aberthid yn nhân Moloch. Yn amser Ahaz a Manasseh yr oedd offeiriaid y Duw byw wedi myned mor eilun-addolgar fel y gadawent wasanaeth y Deml, ac yr elent i gymmeryd rhan mewn ffiaidd eilun-addoliaeth a ddygid i gymmydogaeth y Deml ei hun. Am Josiah, y brenhinol ddiwygiwr, dywedir—"Ac efe a halogodd Topheth, yr hon sydd yn nyffryn meibion Hinnom, fel na thynnai neb ei fab na'i ferch trwy dân i Moloch."[1] Hysbysodd yr Arglwydd y byddai i'r lle ffiaidd hwn gael ei adnabod—nid wrth yr enw "glyn mab Hinnom," na'r enw "Topheth," ond wrth yr enw "glyn lladdedigaeth"[2] oblegid y lladdedigaeth fawr ar yr Iuddewon gymmerai le yn y dyffryn yn dâl am eu gwaith yn lladd eu plant trwy eu haberthu i Moloch.

Yn ddiweddarach defnyddid y rhan yma o'r dyffryn fel lle i losgi budreddi y ddinas. Yno y teflid anifeiliaid meirw i fod yn ysglyfaeth i gŵn ac adar. Rhwng pobpeth daeth y dyffryn i feddu enw drwg. Yn amser Crist yr enw ar y dyffryn oedd *Gehenna*, enw fel yr ymddengys yn darddedig o Ge—ceunant—a

[1] 2 Bren. xxiii. 10. [2] Jer. vii. 32, xix. 6.

Hinnom. Arferai y Rabbiniaid ddysgu fod "drws uffern i'w gael yn Tophet," ac yn ngolwg Iuddewon a Mahometaniaid y mae'r dyffryn wedi arfer bod yn arwyddlun o uffern.

Oblegid fod y fath elfen ddinystriol yn perthyn i dân, golygai a dysgai'r Iuddewon mai trwy dân y byddai i Dduw weinyddu cosp. Fel hyn y daethpwyd i feddwl am uffern fel "llyn yn llosgi o dân a brwmstan" (Luc xvii. 29). Mae'n amlwg mai o feddwl am gyflwr a chartref y colledigion yn ngoleuni dyffryn Tophet, am yr hwn y dywed y prophwyd—"ei chynneuad sydd dân a choed lawer; anadl yr Arglwydd, megys afon o frwmstan, sydd yn ei hennyn hi" (Esaiah xxx. 33), y soniai y Dysgawdwr mawr am "y tân anniffoddadwy," ac y mae'n amlwg hefyd mai adlewyrchiad yw ei eiriau Ef yn Marc ix. 44—48 o eiriau olaf Prophwydoliaeth Esaiah—"edrychant ar gelanedd y rhai a wnaethant gamwedd—canys eu pryf ni bydd marw, a'u tân ni ddiffydd; a byddant yn ffieidd-dra gan bob cnawd,"—geiriau fel y credir yn derbyn eu grym oddiwrth yr olwg arferol ar ddyffryn Tophet, Gehenna, neu Hinnom.

***Dyffryn y Tyropean.***

Yn gyffredin esbonir yr enw i olygu "dyffryn y masnachwyr caws." Cynnygia Conder fel ystyr iddo—"dyffryn y cyfnewidwyr arian," ac ynglŷn â hyn noda mai yn y gymmydogaeth, sef yn Heol Dafydd, y mae yr Arian-newidwyr i'w cael yn awr. Yn gymmaint ag nad oes sôn am ddyffryn Tyropean yn yr Ysgrythyr, ac nad oes sôn am ddyffryn Hinnom yn Ngweithiau Josephus, y mae rhai wedi barnu mai yr un yw Hinnom yr Ysgrythyr a Tyropean Josephus. Mae Dr. Bonar (Land of Promise) yn dal mai y Groeg yw Tyropean am *Geben-Hinnom*, ac mai ystyr geben yw *caws*. Mewn rhai mapiau y mae'r dyffryn canol yma yn cael ei alw yn Hinnom, a cheir Dr. Henderson yn barnu y gall fod priodoldeb yn hynny.[1] Nis gellir bod yn sicr, ac etto yr arfer cyffredin yw cymmeryd mai Hinnom yw y dyffryn gorllewinol, fel y sylwyd, a Tyropean y dyffryn canol hwnnw oedd yn rhannu y ddinas yn ddwy.

Yn yr hên amser yr oedd disgynfa o rhwng 300 a 500 o droed-

[1] Palestine, 123.

feddi o ben Sïon i waelod y Tyropean. Mae mapiau[1] y Palestine Exploration Fund yn nodi fod y fan uchaf ar Sïon (cymmydogaeth Tŵr Dafydd) yn 2532 o droedfeddi uwchlaw'r Canoldir, a llawr y dyffryn wrth Ffynnon Job yn 1979 o droedfeddi uwchlaw'r Canoldir. Noda Dr. Benzinger[2] fod y darganfyddiadau wnaed gan Warren ac eraill wedi datguddio y ffaith fod gwely y llifogydd wrth gongl dde-orllewin yr Haram ar un adeg rhwng 42 a 46 o droedfeddi islaw y wyneb presennol.

Croesid y dyffryn gan bont fawreddog wnaed yn gyntaf gan Solomon, ac yn fwy mawreddog drachefn gan Herod. Fel y sylwyd eisoes, croesid y dyffryn gan bontydd eraill heblaw y bont frenhinol, ac y mae pobpeth yn dangos fod y Tyropean yn ddarn pwysig iawn o'r ddinas. Ar fryn Ophel uwchlaw'r dyffryn y safai y palasdai godwyd gan Solomon. Ar lethr y bryn yna ac i lawr i'r dyffryn yr oedd y gerddi brenhinol, ac un o gladdfeydd brenhinoedd Judah. Yn y dyffryn hwn y mae dau Lyn Siloam, yn adfeiliedig yn awr rhagor yr hyn oeddynt. Coed dreiniog sydd yn tyfu lle y safai y gerddi, oddigerth yma a thraw lle y ceir ychydig o ardd, a'i pherchennog yn byw arni ddydd a nos er mwyn ei dyogelu rhag lladron.

Yn y fan lle'r ymgolla y Tyropean yn nyffryn y Cedron darganfyddwyd wrth gloddio, yn y flwyddyn 1895, ddarn o fûr henafol iawn yn 30 troedfedd islaw'r wyneb. Credir mai darn ydyw o hên fûr deheuol y ddinas, yr hwn felly oedd unwaith yn ymestyn mor bell a hynyna. Wrth gwrs, y rheswm fod y darn mûr mor isel yw fod y Tyropean wedi ei gladdu a'i guddio drwy y mynnych ddinystrio sydd wedi bod ar y ddinas.

### *Dyffryn Cedron.*

Mae mwy o sicrwydd am safle hwn na'r un. Mae Cedron yn enw ar nant yn ogystal a dyffryn. Yr unig gwestiwn y mae gwahaniaeth barn wedi codi yn ei gylch yw hwn—ai yr un yw dyffryn Cedron a dyffryn Jehosaphat, ynte dau ddyffryn gwahanol ydynt? (Mae Jehosophat yn enw hefyd ar un o frenhinoedd Judah y mae cyfeiriad atto ar y Garreg Foabaidd.) Mae'n sicr fod y dyffryn sy'n hanner amgylchu y ddinas ar y gogledd a'r dwyrain

[1] Portfolios of Jerusalem Drawings.
[2] Hilprecht, 599.

yn cael ei adnabod wrth y ddau enw o Cedron a Jehosaphat. Yr olaf yw yr enw cyffredin gan y trigolion, ond y mae'n enw ddefnyddid gan hên awdwyr fel Eusebius, Jerome, a Phererin Bordeaux. O'u gwahaniaethu yn fanwl, fel hyn y maent—Mae Cedron yn enw ar yr holl ddyffryn, ac mewn modd neullduol yn enw ar y rhan isaf o hono; mae Johosaphat yn enw ar yr holl ddyffryn, ac mewn modd neullduol yn enw ar y rhan uchaf o hono. Yn y gogledd, lle y mae'r dyffryn lettaf, gwahana rhwng Bezetha a Scopus; yn fwy deheuol, lle y mae'n ddwfn a chûl, gwahanu Moriah ac Ophel y mae oddiwrth yr Olewydd.

Mae tarddiad yr enw Cedron yn fater o gryn ddadleuaeth. Cyssyllta rhai yr enw gyda'r cedrwydd a dyfent unwaith yn y dyffryn. Felly y gwneir yn y Cyf. Diwygiedig. Oddiwrth bresennoldeb y cedrwydd naturiol ydoedd sôn am afon y cedrwydd a dyffryn y cedrwydd. Mae cewri o feirniaid, megis Lightfoot, Westcott, &c., wedi bod yn traethu ar hyn, ac ar y cyfan y mae'n anhawdd gweled fod Cedron yn golygu Cedrwydd. Yn hytrach gwneir allan fod y gair Cedron yn d'od o air yn golygu du,[1] a cheir fod düwch yn syniad sydd yn gyffredin iawn i'w gael mewn enwau afonydd. Felly gydag amryw afonydd yn ein gwlad ni. Yn sicr, ni raid meddwl, fel y mae rhai wedi gwneud, am waed yr ebyrth yn duo y dwfr. Mae hyn yn amlwg—os oedd yno gedrwydd ar hyd glannau y nant yn taflu eu cysgodion tywyll drosti, byddai yn naturiol iddi gael ei galw yn afon ddu, ac wedi i'r nant dderbyn enw derbyniai ei dyffryn enw oddiwrthi. Nid oes dwfr i'w gael ond yn anfynnych iawn yn *Wadi* y Cedron, fel hefyd yn Wadi yr Hinnom. Am yspaid yn y gauaf y gwelir yma ddim tebyg i afon. Mae llwybr yr afon neu y ffrydlif sydd yno yn y gauaf yn cael ei groesi gan bont fechan, a chredir fod pont yn bod yno yn amser y Ceidwad.

Cyfeiria Dr. Adam Smith at y cyfnewidiadau sydd wedi cymmeryd lle yn nyffryn y Cedron. Yn un peth, cyfeiria at ddesgrifiad Josephus o'r "ddaeargryn" gymmerodd le yn amser Uzziah, pryd y symmudwyd darn o Ophel ar draws y dyffryn, ac yr ychwanegwyd ef at yr Olewydd.[2] Fel ffrwyth ymchwiliadau

[1] Gweler yr Esboniad Cyfundebol ar Ioan ii. 252; hefyd Dr. Kennedy yn Ngeiriadur Hastings.

[2] "Expositor," Mawrth, 1903.

diweddar gan Syr Charles Warren ac eraill, ceir fod hên wely y Cedron ddeg llath yn nes i'r ddinas na'i gwely presennol, ac hefyd ei fod unwaith yn llawer dyfnach nag yw yn awr; mewn un man cafwyd ef 38 troedfedd yn ddyfnach na'r gwely presennol. Mae dyffryn Cedron yn llawn dyddordeb. Cyssylltir amryw bethau yn y dyffryn gyda Mair y Forwyn, ac enwa y Cristionogion Dwyreiniol amryw wrthrychau ar ol y santes honno. Yr enw ganddynt ar Borth Stephan, sy'n arwain i'r dyffryn, yw *Bab Sitti Mariam*, hynny yw, Porth y Santes Mair, neu Porth y foneddiges Mair, neu ein boneddiges Fair. Yr enw ar y dyffryn yw *Wadi Sitti Mariam*—dyffryn Sant Mair. Rhwng Porth Stephan a Pont y Cedron y mae *Eglwys Sant Mair*, ac ychydig i lawr y dyffryn y mae *Ffynnon Sant Mair*.

Pe byddai i ni adael y ddinas drwy Borth Stephan fe gaem, cyn d'od allan o'r porth hwnnw agorfa yn arwain i *Eglwys St. Ann*, sef mam y Forwyn Sanctaidd. Mae cyfeiriad i'w gael at eglwys felly—eglwys yn dynodi cartref Ann a man genedigaeth y Forwyn er mor foreu a'r 7fed ganrif. Wedi gadael y porth bydd i ni yn fuan iawn dd'od at y llannerch ar ba un y dywed traddodiad (ag sy'n gyfeiliornus) i Stephan gael ei ferthyru. Ymhen pum mynud deuwn at Bont Cedron. Y tu hwnt i'r bont, ar y chwith, y mae yr hyn a elwir *Eglwys Bedd y Forwyn*, neu Eglwys Sant Mair. Sylwer ar y darlun rhagorol o Fynydd yr Olewydd sydd gennym, ac fe welir y bont, a thu draw i'r bont, yn sefyll ar ei ben ei hun ar fin y ffordd, adeilad isel hanner-adfeiliedig. Yn yr adeilad yna, yn ol traddodiad, y claddodd yr Apostolion y Forwyn Fair, ac ynddo y bu yn gorwedd hyd ddydd ei dyrchafiad (Assumption). Cedwir y 15fed o Awst fel y cyfryw ddydd. Tybir i Elen godi eglwys yn y fan hon. Y mae'n ffaith fod eglwys yno yn gynnar yn y 5ed ganrif. Codwyd trydedd eglwys yn y lle gan Milicent, merch Baldwin II., ac adfeilion o'r bedwaredd eglwys, yr hon a godwyd yn y 12ed ganrif, yw y rhai sydd yno yn awr. Nid oes ond megys porth yr Eglwys uwchlaw wyneb y tir. Rhaid myned i lawr grisiau er d'od i'r Eglwys ei hun. Cynnwysa amryw ystafelloedd tan-ddaearol, ac y mae un o honynt yn ogof naturiol gydag agorfa o'i chanol i fyny i'r awyr agored, ac yn mesur 18 llath o hŷd, 9 llath o lêd, a thua 12 troedfedd o uchder. Gelwir yr ogof hon yn *Ogof yr Ing* (Antrum Agoniae), a dywedir mai yn yr ogof hon y cymmerodd ing gwaedlyd yr Iesu le, "pryd yr oedd ei chwys fel defnynau gwaed yn disgyn ar y

ddaear" (Luc xxii. 44). Perthyna yr Eglwys yn awr gan mwyaf i'r Groegiaid, ond y mae gan y Pabyddion, yr Armeniaid, a chrefyddwyr eraill, allorau a chapelau yn yr Eglwys eang tan-ddaearol hon. Yn wir, yn yr Eglwys hon cawn engraifft o beth lled ddieithriol sydd i'w gael amryw weithiau yn y wlad, sef Mahometaniaid yn addoli yn yr un addoldy a Christionogion. Gwnant hyn oblegid i Omar offrymmu dwy weddi wrth yr Eglwys hon pan ar ymweliad â Jerusalem yn 637 O.C. Ymhlith y pethau ddanghosir yno y mae bedd-gist (sarcophagus) Mair. Mae'n ammhosibl dyweyd pa faint o sail sydd i'r traddodiad ddarfod i Mair gael ei chladdu yn y fan hon. Mae traddodiadau eraill ddarfod iddi ganlyn Ioan i Ephesus, ac oddiyno fyned allan yn genhades dros ei Bendigedig Fab.

Lle enwog am ei gladdfeydd ydyw Dyffryn Cedron. Mae yn y dyffryn nifer o fedd-golofnau. Mae'r map sydd gennym o Jerusalem (modern) yn nodi rhes o honynt.

Y fwyaf amlwg o honynt ydyw *Bedd-golofn Absalom.* Am y Tywysog gwrthryfelgar hwnnw dywedir fel hyn—"Ac Absalom a gymmerasai ac a osodasai iddo yn ei fywyd golofn, yn nyffryn y brenhin; canys efe a ddywedodd, Nid oes fab gennyf i wneuthur coffa am fy enw; ac efe a alwodd y golofn ar ei enw ei hun. A hi a elwir Lle Absalom hyd y dydd hwn" (2 Sam. xviii. 18). Cywira y Cyf. Diwygiedig, a darllena—*Absalom's Monument.* Dyffryn Cedron i bob golwg yw "y dyffryn Safeh," neu "ddyffryn y brenhin" y cyfeirir atto yma ac yn Gen. xiv. 17. Wrth gwrs, nid oes neb a ddywed fod y golofn yn ei ffurf bresennol yn bod er amser Absalom. Nid oes sôn am dani hyd y flwyddyn 333 O.C. Mae rhai pethau ynglŷn â hi yn tystio ei bod ar gael yn ystod y Cyfnod Rhufeinig. O ran gwneuthuriad y mae yn un maen (monolith), a hwnw yn codi i uchder o 48 troedfedd. Y rheol yw fod pob Iuddew aiff heibio yn taflu carreg at golofn mab gwrthryfelgar Dafydd, gan ddangos eu hanghymmeradwyaeth o'i ymddygiadau annheilwng trwy fod yn ddiystyrllyd o'i fedd-golofn.

Colofn arall gerllaw i un Absalom yw un ar enw *Jehosaphat.* Yn îs i lawr y dyffryn y mae *Bedd-golofn Iago.* Mae traddodiad cynnarach yn gwneud allan mai nid man ei fedd sydd yma, ond y man y bu yn ymguddio rhwng yr adeg y daliwyd yr Iesu a'r

adeg y daeth hysbysrwydd ei fod wedi adgyfodi. Ychydig yn is drachefn gwelir *Bedd-golofn Zechariah*—yr un y mae sôn am dano yn Mat. xxiii. 35 medd y Cristionogion, a'r un y mae sôn am dano yn 2 Chron. xxiv. 20 medd yr Iuddewon. Mae hon o ran ffurf yn debyg i eiddo Absalom, ond heb fod cyn uched. Perchir bedd Zechariah gan yr Iuddewon, ac ystyriant mai da yw gweddïo wrth ei ymyl. Y tu ol i'r rhes o fedd-golofnau a nodwyd y mae yr hyn a elwir yn *Gladdfa y Prophwydi*. Sylwyd eisoes ar Gladdfa y Brenhinoedd a Chladdfa y Barnwyr, y rhai a ddanghosir i'r gogledd o'r ddinas, sef yn y rhan uchaf o ddyffryn Jehosaphat neu Cedron; ac heb fod ymhell oddiwrthynt hwy drachefn y mae *Bedd Simon Gyfiawn*. Dathlir diwrnod claddedigaeth yr Iuddew enwog hwn gan gynnulliad blynyddol—y cynnulliad mwyaf lluosog o Iuddewon sydd i'w gael yn y wlad ar hyn o bryd.

Mae llethrau'r Olewydd, sy'n rhedeg i lawr i ddyffryn Cedron, yn orchuddedig gan feddau Iuddewig. Ar gyfer y rhai hyn, yr ochr arall i'r dyffryn, ac felly dan gysgod muriau y Deml a'r Ddinas y mae miloedd o feddau Mahometanaidd drachefn. Y rheswm am fodolaeth y fath nifer enfawr o feddau Iuddewig a Mahometanaidd ar hyd ochrau dyffryn Cedron yw hyn—y credir gan Iuddewon a Mahometaniaid mai man arbennig yn nyffryn Cedron fydd safle y Farn ddiweddaf. Ystyr yr enw Jehosaphat, meddant, yw dyffryn barn yr Arglwydd. Mae'r traddodiad hwn yn bod cyn y cyfnod Cristionogol. Seilir y grêd yma ar Joel iii. 2—12: "Casglaf hefyd yr holl genhedloedd, a dygaf hwynt i waered i ddyffryn Jehosaphat. . . . Deffroed y cenhedloedd, a deuant i fyny i ddyffryn Jehosaphat; oherwydd yno yr eisteddaf i farnu yr holl genhedloedd o amgylch." Gan, fel hyn, y bydd yn rhaid i bawb y dydd hwnnw ymgasglu o bob rhan o'r byd i'r dyffryn hwn, uchelgais Iuddew a Mahometan yw cael eu claddu yn y dyffryn, fel y byddont yno yn barod, ac y caffont y ffafr o fod y rhai cyntaf i gael eu codi a'u barnu.

## GETHSEMANE.

Mae'r enw yn d'od o ddau air Hebreig yn golygu *olew* a *gwasgu*.[1] Er nad oes hysbysrwydd am fodolaeth olew-wasg neu winwryf yn y lle, gellir casglu oddiwrth yr enw fod un yno ar ryw adeg.

Sylwer yn fanwl ar y darlun hollol gywir, o'r Cedron a'r Olewydd sydd gennym yn y llyfr, er cael syniad am yr Ardd a'i safle. Tu hwnt i'r bont sydd yn croesi gwely y Cedron gwelir *Eglwys y Forwyn Fair*, yn sefyll ar ei phen ei hun ar ochr chwith y ffordd, ac ymhellach ymlaen ar y dde, tua hanner-can llath oddiwrth y bont, gwelir gardd ysgwâr gyda mûr uchel yn ei hamgylchu. Mae ffyrdd hefyd yn ei hamgylchu oddigerth ar y pen deheuol iddi, ac y mae'r fynedfa iddi ar yr ochr nesaf i'r Olewydd. Hon, yn ol traddodiad, a hwnnw yn draddodiad er y 4edd ganrif, ydyw *Gardd Gethsemane*. Mae'n werth i ni sylwi ar y modd y cyfeiria y gwahanol Efengylwyr at ddyfodiad yr Iesu i Gethsemane. Dyma'r cyfeiriadau:—

"Yna y daeth yr Iesu gyd â hwynt i fan a elwid Gethsemane."—*Matthew*.

"A hwy a ddaethant i le yr oedd ei enw Gethsemane."—*Marc*.

"Efe a aeth, yn ol ei arfer, i fynydd yr Olew-wydd; . . . a phan ddaeth efe i'r man."—*Luc*.

"Efe a aeth allan, dros afon Cedron, lle yr oedd gardd, i'r hon yr aeth efe a'i ddisgyblion."—*Ioan*.

Fe welir mai Ioan yw yr unig un i sôn am ardd. Nid yw yr Efengylwyr eraill yn defnyddio'r gair, ond y maent yn defnyddio'r gair χωρίον, yr hwn a gyfieithir yn "fan," a "le," a'r hwn a ddynoda ddarn bach o dir wedi ei gau i mewn. Er na cheid ond "y meini terfyn," yma a thraw yn terfynu rhwng y gwahanol feusydd a'r gwahanol ffermydd yn y wlad, arferid cau i mewn rai gerddi yn ofalus, a defnyddid hwy, nid yn unig fel perllannau, ond fel lleoedd neullduedig i orphwyso, i addoli ac i gladdu y meirw ynddynt. Yr oedd yr ardd yn orphwysfan, yn gapel ac yn gladdfa. Mae'n debyg mai un o garedigion yr Iesu oedd pia yr ardd. Tybia

[1] Conder yn Ngeiriadur Hastings

Westcott ac eraill fod yn y desgrifiadau o'r fan gyfeiriad at y "fferm fach" i ba un y perthynai. Rhoddodd y ffermwr bach oedd yna fenthyg ei ardd i'r Iesu, megys y rhoddodd Joseph fenthyg ei fedd iddo, a theulu Ioan Marc fenthyg eu tŷ iddo. Dywed Luc mai myned "i fynydd yr Olew-wydd" yr oedd yr Iesu wrth fyned i'r ardd hon, a dylid sylwi mai felly yr oedd. Camgymmeriad yw sôn am Gethsemane "ar waelod" y dyffryn, fel y gwneir weithiau. Ar ochr yr Olewydd y mae. Mae'r afon Cedron 150 troedfedd yn îs na'r Ardd, a 380 troedfedd yn îs na llawr y Deml.

Yr oedd safle yr Ardd yn peri y gwasanaethai yn rhagorol iawn fel lle i'r Iesu ymneullduo iddo gyda'i ddisgyblion. Nis gellir dyweyd ei bod yn rhy agos i'r ddinas nac yn rhy bell oddiwrthi i gyfatteb i'r hanes a'r amgylchiadau. Yr oedd "yn ol ei arfer" Ef, meddai Luc, i fyned yno, a "Judas hefyd," meddai Ioan, "a adwaenai y lle; oblegid mynnych y cyrchasai yr Iesu a'i ddisgyblion yno." Ië, ac nid gormod gan Judas ydoedd halogi y fath lannerch gyssegredig, gan ei gwneud yn fangre brâd.

Mae'r muriau presennol yn cau i mewn ddarn o tua 70 o latheni yn ysgwâr, ond credir fod yr Ardd yn adeg yr Iesu yn llawer helaethach, ac yn cynnwys o'i mhewn yr ogof tan-ddaearol sydd yn awr yn Eglwys Mair. Mae Robinson, Thomson ac eraill yn ammheu cywirdeb y lleoliad traddodiadol[1] o Gethsemane, ond nid ydynt yn amcanu at nodi lle gwahanol. Mae gennym dystiolaeth Josephus fod amryw erddi i'w cael yn nghymmydogaeth Jerusalem, ond yn gymmaint ag na chodwyd adeiladau i ddynodi y lle cyn amser Cystenyn, ac yn ddiweddarach, y mae'n canlyn na fu ôlion o bethau felly i alluogi rhai i fod yn bendant sicr am y llannerch. Modd bynnag, y mae'n hollol sicr mai dyma'r gymmydogaeth; oblegid dywedir fod yr ardd "dros afon Cedron,"[2] ac "ar yr Olewydd."[3] Sonia Eusebius a Jerome hefyd am dani fel "wrth droed yr Olewydd," ac fel "lle y cyrchai y ffyddloniaid i weddïo ynddo;"[4] ac oddiwrth hyn gellir meddwl fod y lle yn adnabyddus yn ystod y cyfnod rhwng Crist a Chystenyn.

[1] Un o'r geiriau Beiblaidd i ddynodi gardd yw παράδεισος, ac oblegid hyn y mae wedi bod yn arferiad i gydmaru y gwahanol erddi y sonir am danynt gyda Pharadwys Eden.

[2] Ioan xviii. 1. [3] Luc xxii. 39. [4] Onomasticon.

Y pethau mwyaf dyddorol yn yr Ardd yn awr yw nifer o goed Olewydd. Mâent yn wyth mewn rhif, ac yn ddiammheuol hên. Fel hyn y dywed Syr Charles Wilson am danynt—"os nad oeddynt yno yn amser yr Iesu, eu bod yn debyg iawn o fod wedi tyfu o gyffiau rhai oedd yno y pryd hynny."[1] Yn debyg y barna Dr. Manning am danynt.[2] Rhaid, ar yr un pryd, goflo fod Josephus[3] yn dyweyd ddarfod i Titus dorri i lawr holl goed cymmydogaeth Jerusalem. Mae yn yr Ardd gyflawnder o flodau ac addurniadau. Gwerthir blodau wedi tyfu yn yr Ardd, a gwerthir olew wedi ei wasgu, meddir, o goed yr Ardd; a thrwy gael prisiau uchel am y pethau hyn galluogir y mynachod sy'n gofalu am yr Ardd i'w chadw mewn cyflwr da.

Dysgir ni i feddwl bob amser am "Ing yr Ardd,"[4] ac ar hŷd ochrau'r muriau, o'r tu-mewn iddynt, portreiedir yr Iesu yn ei ing trwy amryw ddarluniau, a rhai o honynt gan awduron o fri. Ond yr oedd hên bennillion Cymru yn llawer gwell moddion i'n dwyn ni i wybod am "gymdeithas ei ddyoddefiadau Ef," ac yr oedd y demtasiwn yn ormod i ni—er fod amryw ddyeithriaid eraill yn yr Ardd—i beidio canu gyda'n gilydd y geiriau—

"Wrth goflo'i riddfanau'n yr ardd,
A'i chwys fel defnynau o waed," &c.

Hefyd,—

"Côf am y cyflawn Iesu,
Y Person mwyaf hardd,
Ar noswaith drom, anesmwyth,
Bu'n chwysu yn yr ardd:
A'i chwys yn ddafnau cochion
Yn syrthio ar y llawr;
Bydd canu am Ei gariad
I dragwyddoldeb mawr." &c.

Danghosir i'r neb fynno sylwi arnynt yr ysmotyn ar ba un y gorweddai ac y cysgai Pedr, Iago a Ioan, a'r ysmotyn lle y cyfarfyddodd Judas â'r Iesu gan ei fradychu gyda chusan, ac yr oedd yr ysmotyn hwnnw y pryd hynny y tu-allan i'r Ardd. Ond yn ol traddodiad arall nid y tu-allan i'r Ardd y cymmerodd y brad ychiad le, ond fel y sylwyd, yn yr ogof oedd y pryd hynny o fewn yr Ardd. Mae a fynno y ddau draddodiad yna â'r cwestiwn pa

[1] Pictorial Palestine. [2] "Those Holy Fields (123). [3] Rhyf. v. 2, 3. [4] Luc xxii. 44.

un ai aros yr oedd yr Iesu pan ddaliwyd Ef yn nirgelfan yr Ardd, ynte wedi myned ymlaen yr oedd i gyfarfod ei elynion.[1]

Ym meddiant y mynachod Lladinaidd y mae'r Ardd yn awr. Cymmaint, modd bynnag, yw y gystadleuaeth rhwng y gwahanol bleidiau crefyddol am feddiannu y lleoedd cyssegredig fel y cawn fod y Groegiaid a'r Armeniaid wedi cau i mewn ardd arall, a'i galw yn ardd Gethsemane. Yn gydmarol ddiweddar y gwnaed hyn, fel nad oes dim sôn am dani ond mewn llyfrau diweddar. Os edrychir ar y darlun gwelir hon ychydig i'r dde, ac yn uwch ar ochr y mynydd na'r hên Ardd. Uwchlaw y Gethsemane hon o eiddo y Groegiaid drachefn gwelir eglwys fawr Rwsiaidd, yr hon a elwir yn *Eglwys Mair Magdalen*, ac a adeiladwyd gan Ymherawdwr Rwsia yn 1888. Y mae saith o dyrau o arddull Rwsiaidd ar yr eglwys, a'r olwg arni, ynghyda'r adeiladau cyssylltiol, yn hynod dlws a mawreddog. Dengys y darlun fod y ddwy Gethsemane yn sefyll ar odrau yr Olewydd. Dengys hefyd fod y tair ffordd sy'n arwain dros ben y mynydd yn ymwahanu yn agos i'r Ardd isaf.

Dylid, yn olaf oll, sylwi fod Dyffryn y Cedron a gwely yr afon yn uwch yn awr nag oedd yn amser yr Iesu, ac yn llawer uwch yn amser yr Iesu nag oedd cyn "y ddaeargryn" fawr fu yn amser Uzziah, pryd y trosglwyddwyd darn o fryn Ophel ar draws y dyffryn, ac yr ychwanegwyd ef at yr Olewydd.[2] O ganlyniad yr ydym i ddeall fod y codiad o'r Cedron i Gethsemane yn amser ein Ceidwad yn fwy o amryw latheni nag yw yn bresennol, a'i fod yn fwy yr adeg y dihangodd Dafydd o flaen Absalom nag oedd yn amser Crist.

[1] Socin, Weiss, &c.

[2] Geo. A. Smith. "Expositor," Mawrth ac Ebrill, 1903.

## BRYNIAU JERUSALEM.

Wrth fyned i draethu am Sïon a Moriah ar tudalen 28, nodasom fod y ddinas yn awr yn sefyll ar bump o fryniau, neu fynyddoedd bychain, y rhai sydd wedi myned yn un trwy fod y dyffrynoedd a'u gwahanent wedi eu llenwi i fyny. Nid oes gofyn am i ni ychwanegu at yr hyn a ddywedwyd am Sïon—bryn uchaf yr amddiffynfa a'r hên ddinas, am Moriah—bryn y Deml, ac am Ophel—bryn y palasdai brenhinol. Gofynir i ni ychwanegu am Acre a Bezetha, a thraethu yn lled helaeth am Galfaria a'r Olewydd—y ddau fryn eraill, y tu-allan i'r ddinas, a ychwanegir gan rai nes gwneud bryniau'r ddinas yn saith mewn nifer.

### *Acre.*

Enw dieithr i'r Ysgrythyr yw hwn, ond credir fod amryw gyfeiriadau atto yn y Gair o dan yr enw Milo. Ystyr yr enw Milo yw *llanw i fyny*, ac y mae sôn am ddau le o'r enw, a'r ddau yn lleoedd amddiffynol. Mae'r enw, bob amser, yn yr Hebraeg yn cael ei ddefnyddio gyda'r fannod—" Y Milo." Yn y Deg-a-Thriugain rhoddir ef fel "Yr Acre," hynny yw "Yr Amddiffynfa." 'Roedd un o'r ddau Milo yn nghymmydogaeth Sichem, fel y gwelir oddiwrth Barn. ix. 6, 20, lle y sonir am dŷ Milo. 'Roedd y llall yn rhan o ddinas Jerusalem, ac etto y mae y cyfeiriadau yma—2 Sam. v. 9, 1 Bren. ix. 15—24, xi. 27, 1 Chron. xi. 8, 2 Chron. xxxii. 5, 2 Bren. xii. 20. Pâr yr Ysgrythyr i ni feddwl am Milo fel amddiffynfa Ganaaneaidd, yr hon a gymmerwyd gan Dafydd, a ail-adeiladwyd gan Solomon, ac a adgyweiriwyd gan Hezeciah. Mae'n lled eglur ein bod, wrth sôn am Milo, i feddwl am dŵr; ond y mae'n eglur hefyd mai nid am dŵr yn unig yr ydym i feddwl. Mae amryw bethau heblaw Cyfleithiad y LXX. yn pleidio y golygiad mai Milo yr Ysgrythyr yw Acre y Groegiaid.

Yn ei bennod ar " Desgrifiad o Jerusalem," y mae Josephus yn nodi y pethau canlynol,—

(1) Fod y ddinas yn cael ei hamddiffyn gan dri mûr yn y lleoedd hynny nad oedd serthder y dyffrynoedd yn peri fod un mûr yn ddigon.

(2) Fod y ddinas wedi ei hadeiladu ar ddau fryn, gyda dyffryn yn gwahanu rhwng y ddau.

(3) Fod y bryn uchaf a helaethaf yn cael ei adnabod wrth yr enwau—" y ddinas uchaf," " y farchnad uchaf," ac " amddiffynfa Dafydd."

(4) Mai yr enwau ar y bryn arall oedd " Acre," a'r " ddinas isaf."

(5) Fod yr ail fryn yma ar ffurf newydd-loer (ἀμφικυρτός), a'i fod felly trwy fod y dyffryn yn hanner-gylchu am dano.

(6) Fod trydydd bryn—bryn y Deml—yn îs na'r ail fryn, ac yn cael ei wahanu oddiwrtho gan ddyffryn helaeth.

(7) Yn ystod teyrnasiad yr Asmoneaid—er amddiffyn y Deml. amcanwyd gwneud yr ail a'r trydydd bryn yn un (a) trwy symmud ymaith ran o ben yr ail, neu Acre, fel ag i'w wneud ef yn îs; (b) trwy godi i fyny y dyffryn.

(8) Mai enw y dyffryn wahanai y bryniau hyn oedd " Dyffryn y masnachwyr caws." Cainc o'r dyffryn hwn oedd yn gwahanu rhwng y ddinas uchaf a'r ddinas isaf, neu rhwng Sïon ac Acre, a phrif ran y dyffryn (gelwir y rhan yma o'r dyffryn gan Canon Birch ac eraill yn ddyffryn Hinnom, a chan Russel Forbes ac eraill yn ddyffryn Asmoneaidd, neu lydan) Tyropeaidd yma oedd yn gwahanu rhwng Sïon ac Acre ar y gorllewin, a Bezetha, Moriah ac Ophel ar y dwyrain.

Mae'r casgliadau hyn i'w gwneud oddiwrth yr hyn ddywed Josephus—(1) Er mewn ystyr mai tŵr amddiffynol ydoedd Acre neu Milo, yn sefyll ar ochr ogleddol y ddinas, lle yr oedd hi yn fwyaf diamddiffyn yn naturiol, ac yn hawddaf ei chymmeryd, etto cawn fod y bryn, ar yr hwn y safai y tŵr, a'r rhan-dref oedd o'i gwmpas yn cael eu hadnabod wrth yr un enwau. Hwn yw y tŵr y cyfeirir atto yn 2 Sam. v. 7—9, ac y mae'n amlwg oddiwrth 1 Chron. xi. 5—8 fod meddiannu hwn yn golygu meddiannu rhan o'r ddinas.

(2) Tra yn sôn am dri bryn nodir yn eglur mai ar ddau o honynt y safai y ddinas, ac felly nid oedd dim o honi ar y bryn dwyreiniol.

Ymddengys yn bur debygol mai cymmeryd Milo a wnaeth Dafydd ar y cyntaf, er y dywedir—" Dafydd a ennillodd dŵr

Sïon." Ond ymhellach dywedir—"A dywedodd Dafydd, Pwy bynnag a darawo y Jebusiaid yn gyntaf efe a fydd yn bennaf ac yn dywysog. Yna yr esgynodd Joab mab Serfiah yn gyntaf, ac a fu bennaf" (1 Chron. xi. 5, 6). Wrth gydmaru gydag 2 Sam. v. 7—9 cawn mai esgyn i fyny y gwtter a wnaeth Joab, hynny yw, esgyn i fyny'r ffôs tan-ddaearol oedd gan y Jebusiaid i ddwyn dwfr i fewn i'r ddinas. Trwy'r moddion yma y mae Joab yn llwyddo i fyned i ran uchaf a chadarnaf y ddinas, yr hwn oedd ar y Sïon priodol.[1] Mor ddiweddar a 1834 llwyddodd y Fellahim Syriaidd i feddiannu'r ddinas am dro, oblegid llwyddasant i dorri i mewn i'w chanol trwy fyned i fyny un o'r ffosydd tan-ddaearol.[2] Rhydd Syr Charles Warren hanes manwl am dano ef a chyd-ymaith yn ennill mynedfa i'r ddinas trwy wneud yr un peth.

***Bezetha.***

Bezetha, neu Bezeth, yw y mwyaf gogleddol o'r pum bryn y saif Jerusalem arnynt. Yn gydmarol ddiweddar y mae'r enw wedi d'od i arferiad. Gwelir priodoldeb yr enw yn y ffaith mai ar y bryn hwn y mae y "Jerusalem Newydd" wedi codi. Pan yr oedd mûr Agrippa i fyny yr oedd yr oll o Bezetha tu-mewn i'r ddinas. Rhan o Bezetha yn unig sydd tu-mewn i'r ddinas yn awr, ac felly hefyd yn amser yr Iesu. Tu-allan i furiau presennol y ddinas, ar y gogledd, y mae dyffryn cûl, yr hwn sy'n torri Bezetha yn ddwy ran. Nid yw y dyffryn hwn ond ffrwyth hên chwarel a dorrwyd drwy y bryn. Y ddwy ran dan sylw ydynt Bezetha, yr hwn a wahenir oddiwrth Acre gan y Tyropean, a Calfaria newydd, am yr hwn y cawn etto sôn. Dywedasom mai hên chwarel ddarfu dorri y bryn yn ddau, a cheir fod oddi-mewn i Bezetha ogofeydd, y rhai sy'n olion chwarelau pwysig. Mae crombil Bezetha yn wâg oblegyd y swm mawr o gerrig adeiladu sydd wedi eu cludo allan o hono. Yn y dyffryn dan sylw mae agorfa fach yn arwain i ogof anferth y tu-mewn i Bezetha. Ym-estyna yr ogof draw o dan y ddinas i bellder o 700 o droedfeddi, ac mewn ambell fan y mae hi amryw latheni o lêd, ac mor uchel fel nad yw y ganwyll yn gallu dangos ei nèn. Yma a thraw y mae pileri cadarn wedi eu gadael er cadw y nèn rhag syrthio i mewn.

[1] Gair Josephus am y rhan hon yw φρουριον, hynny yw caerfa (fort).

[2] Bible and Modern Discoveries (Harper), 308.

Mae maen y chwarel hon yn wyn fel marmor, nes peri fod yr adeilad wneir o hono yn wir brydferth. A barnu mai hwn oedd y maen ddefnyddiwyd i adeiladu y Deml, fe welir priodoldeb yr hyn oedd i'w gael ynglŷn â hi, sef "gweledigaeth o eira ac aur." Mae'r maen hefyd cyn ei symmud o'r ogof mor feddal fel y gellir ei naddu yn rhwydd â chyllell, ond wedi ei ddwyn i'r haul êl yn faen caled, rhagorol at adeiladu. Hawdd ydoedd tynnu meini braf o'r mynydd, a hawdd eu gweithio cyn eu symmud o'r lle.

Ogof y Cotwm (Cotton Grotto) yw enw y Mahometaniaid ar yr ogof. Yr enw cyffredin arni yw *Chwarel Solomon* (Solomon's Quarry), a derbynia yr enw hwnnw am y credir mai o honi y cafodd Solomon feini at y Deml ac adeiladau eraill. Yn 1 Bren. vi. 7 dywedir—"A'r tŷ, pan adeiladwyd ef, a adeiladwyd o gerrig wedi eu cwbl naddu cyn eu dwyn yno; fel nȧ chlybuwyd na morthwylion, na bwyill, nac un offeryn haiarn, yn y tŷ, wrth ei adeiladu." Gellir yn hawdd feddwl am y naddu a'r caboli yn cymmeryd lle yn yr ogof fawreddog yma, a hynny heb fod neb ar y wyneb yn clywed dim oddiwrtho. Wedi hynny ni byddai ganddynt ond ychydig o ffordd i gludo'r meini at yr adeiladau.

Bu y chwarel-ogof hon am ganrifoedd heb wybodaeth yn bod am dani. Ond ar ol y darganfyddiad o honi yn 1852, y mae, fel y gellid meddwl, yn wrthrych o ddyddordeb mawr i ymwelwyr.

# CALFARIA.

Nid oes yr un cwestiwn ynglŷn â lleoedd cyssegredig Jerusalem sydd mor ddadleuol, ac hefyd mor ddyddorol a'r cwestiwn ynghylch *lle y Croeshoeliad.* Yr enw cyffredin gennym ar y lle ydyw Calfaria. Nid oedd hwnnw yn enw arno yn amser yr Iesu, eithr enw yn cyfatteb iddo oedd. Yr ydym i ddeall fod y gair Calfaria wedi ennill y fath le yn Llenyddiaeth yr Eglwys oblegid mai dyma y gair ddefnyddir yn Nghyfleithiad y *Vulgate*, ar yr hwn gyfleithiad y bu yr Eglwys am ganrifoedd lawer, ar ol amser Jerome, yn ymddibynu. Cyfleithiad Lladinaidd ydyw Calvaria, neu Calfaria, o Golgotha. Dywedir fod ryw ffurf o'r gair Golgotha i'w gael yn yr ieithoedd Hebraeg, Aramaeg a Caldaeg fel geiriau yn dynodi *penglog.* Yn Num. i. 2, 1 Chron. xxiii. 3, 24, mae *Gool-gôh-leth* yn golygu pen; ond yn 2 Bren. ix. 35 golyga benglog. Y gair cyfattebol yn y Groeg ydyw Κρανιον. Y mae gennym felly y rhes yma o eiriau cyfystyr,—

| *Hebraeg.* | *Groeg.* | *Lladin.* | *Saesneg.* | *Cymraeg.* |
|---|---|---|---|---|
| Golgotha. | Kranion. | Calvaria. | Skull. | Penglog. |

Yr hyn fuasid yn naturiol yn ei ddisgwyl yn y *Vulgate* fel yn cyfatteb i Golgotha ydyw Calvaria, ac felly y ceir bob amser. Yr hyn fuasid yn naturiol yn ei ddisgwyl yn y Testament Groeg fel yn cyfatteb i Golgotha ydyw *Kranion*, ac felly hefyd y ceir yn Mat. xxvii. 33, Marc xv. 22, a Ioan xix. 17. Ond rywfodd yn Luc xxiii. 33 cawn yr ymadrodd, "A phan ddaethant i'r lle a elwir Κρανιον, fel pe bae hynny yn enw arferol ar y lle, ac nid yn gyfieithiad o'r enw arferol; ac yn y Testament Seisnig Awdurdodedig cyfleithir Κρανιον yn y fan yna yn Calfaria. Gwelir, modd bynnag, fod y Cyfleithiad Diwygiedig yn gwneud i ffwrdd â Chalfaria o'r unig fan y ceir ef yn y Testament Newydd, ac yn dodi y gair cyfattebol "skull" yn ei le. Yr un peth, fel hyn, fyddai i ni y Cymry alw lle y Croeshoeliad wrth yr enw Penglog ag a fyddai i'r Lladinwyr ei alw wrth yr enw Calvaria. Cyfleithiadau yw y naill a'r llall o Golgotha.

Mae'r Eglwys yn lled gyffredinol o hyd er y 4edd ganrif wedi arfer ystyried fod lle y Croeshoeliad a lle y Bedd Sanctaidd i'w cael y tu-mewn i'r adeilad a elwir yn Eglwys y Bedd Sanctaidd,

yr hon sydd yn nghanol dinas Jerusalem. Yr ydym eisoes wedi traethu ar Eglwys y Bedd Sanctaidd, ac wedi desgrifio y llu o bethau sydd i'w cael ynddi. Yr hyn sydd gennym i'w wneud yn y fan hon yw ymholi ynghylch y *seiliau* sydd i'r golygiad mai yma y ceir lle y Croeshoeliad a'r Bedd. Y mae dau beth, y gellir eu nodi, yn bleidiol iddo, sef—(1) Y Traddodiad Eglwysig sydd yn bod. (2) Yr ogof-feddau sydd i'w cael yn y lle.

Mae'r traddodiad yn un neullduol, yn un y mae'r Eglwys Gristionogol, bob rhan o honi, hyd yn gydmarol ddiweddar, wedi bod yn ei ddal. Ond gall, er hynny, ei fod yn hollol ddi-sail a chyfeiliornus. Cawn engreifftiau o draddodiadau cryfion ac eang, ac er hynny yn gyfeiliornus. Dacw un—y cannoedd o bobl, bob dydd yn ystod adeg y pererindodau, yn ymgasglu at y graig sydd tu-allan i'r porth a elwir (er y 15fed ganrif) yn Borth Stephan. Ymgrymmant o flaen y graig a chusanant hi, a hynny oblegid y traddodiad i Stephan gael ei ferthyru wrthi. Ond beth, attolwg, yw y seiliau? Dim ond fod yr Eglwys er y 15fed ganrif wedi bod yn dysgu hynny. Tra ar y llaw arall y mae rhesymau cryfion dros olygu mai nid hwnyna oedd y llannerch ar ba un y collodd y merthyr cyntaf ei fywyd, ac y cyflwynodd ei hunan i'r Ceidwad mawr, yr Hwn a ymddanghosai iddo mewn gogoniant. Yn gyffelyb dyma draddodiad arall yn bod yn yr Eglwys er's pymtheg canrif, sef y traddodiad ynghylch Eglwys y Bedd Sanctaidd, ac etto y mae'n gwestiwn onid yw yntau lawn mor ddisail. Yn niwedd y 4edd ganrif y cychwynodd y traddodiad hwn, ac y mae'n rhaid cydnabod nas gellir nodi dim oedd yn cyfeirio at y lle yn flaen-orol i'r traddodiad ei hun, ac yn annibynol arno. O ganlyniad rhaid ymholi beth a roddodd fod i'r traddodiad. Darganfyddiad gwyrthiol—dyna ddywedir; ond nid yw hanes yn dyweyd hynny. Y prif hanesydd yn y mater yw Eusebius, yr hwn oedd yn byw yn Jerusalem adeg ymweliad Cystenyn â'r ddinas. Yr oedd Eusebius, yr hwn a rydd hanes cyflawniadau Cystenyn,[1] yn bresennol adeg agoriad Eglwys y Bedd. Adrodda am yr Ymherawdwr[2] yn chwilio am fedd yr Arglwydd, pryd nad oedd neb yn alluog i ddyweyd pa le yr oedd. Ac nid rhyfedd hynny ychwaith, gan fod tua tri-chant o flynyddoedd wedi myned heibio

[1] Bywyd Cystenyn, iv. 25.

[2] Nid yw Eusebius yn priodoli i Elen ran ynglŷn â'r Eglwys yn Jerusalem, fel ynglŷn â'r rhai yn Bethlehem ac ar yr Olewydd.

er adeg y Croeshoeliad, a'r ddinas, yn ystod y cyfwng hwnnw, wedi ei llwyr ddinystrio, wedi bod am amser maith yn ddim ond adfeilion, ac am amser meithach heb yr un Cristion i'w gael o'i mhewn. Adrodda etto am yr Ymherawdwr yn symmud ymaith eilun-deml i Gwener oedd wedi ei hadeiladu yn y ddinas, ac ynglŷn â hyn dywed Eusebius ddau beth sy'n ymddangos yn anghysson â'u gilydd. Dywedir ei fod yn symmud y deml, am yr adroddid fod bedd yr Arglwydd i'w gael ar y fan y safai, a dywedir hefyd ddarfod iddynt—wrth ei symmud a'i llwyr arloesi ymaith, fel peth oedd yn halogi y fangre gyssegredig—ddarganfod ogof-fedd, a'i ddarganfod yn hollol annisgwyliadwy ("to their extreme astonishment"). Yn awr, sut y dywedir mai yn annisgwyliadwy ac er eu mawr syndod y darganfyddasant y bedd, os gwir hefyd eu bod yn chwilio am dano mewn man y dywedid ei fod i'w gael? Modd bynnag, fe welir hyn—mai nid yn annaturiol y bu i'w gwaith yn darganfod bedd, pan yn chwilio am fedd yr Arglwydd, roddi bod i'r traddodiad mai hwn oedd bedd yr Arglwydd. Sonir hefyd gan draddodiad Eglwysig am groesau yn cael eu darganfod, ac un o honynt yn groes neullduol iawn; ond y mae'n bur awgrymiadol nad ydyw Eusebius yn dyweyd dim oll am danynt. Y crybwylliad cyntaf wneir attynt ydyw un mewn pregeth gan Cyril, yr hwn a ddechreuodd ar y gwaith o bregethu ryw ddeuddeng mlynedd o leiaf ar ol agoriad Eglwys y Bedd Sanctaidd. Yn ol Dr. Russell Forbes ac eraill, cychwynwyd yr hanes am y croesau gan awdwr o'r enw Socrates, yr hwn oedd yn byw rhwng 390 a 450 O.C. Dychymmygodd ef yr hanes am Elen a'r croesau fel math o "dduwiol dwyll," gan ei fwriadu fel bendith i'r Eglwys yn ogystal ag anrhydedd i Elen. Lledaenwyd yr ystraeon hyn ymhellach trwy offerynoliaeth Sozomen (400—460 O.C.), Theodoret, Esgob Antiochia (387—458 O.C.), ac eraill. Dyna hanes cychwyniad y traddodiad am y croesau.

Y peth arall a ystyrir yn bleidiol i'r traddodiad yw presennoldeb ogof-feddau diammheuol Iuddewig yn y fan. Cawn ŵr o safle Comte-de-Vogue yn dadleu fod presennoldeb y rhai hyn yn brawf fod y llannerch hwn unwaith y tu-allan i furiau y ddinas, ac, o ganlyniad, y gellir derbyn y traddodiad mai un o'r beddau hyn yw Bedd yr Arglwydd. Yr ydym, mae'n amlwg, i edrych ar y traddodiad a'r ogof-feddau hyn fel pethau cyssylltiol. Y bedd neu'r beddau roddodd fod i'r traddodiad, ac hefyd sydd yn rhoddi iddo y grym a berthyn iddo. Nid oes neb yn gwadu mai ogof-

feddau yn perthyn i'r cyfnod Iuddewig yw y rhai hyn, ond nid ydyw cydnabod hynny yn golygu y rhaid eu bod y tu-allan i'r ddinas adeg y Croeshoeliad. Dyma gan hynny y ffeithiau—fod y traddodiad yn yr Eglwys o hyd er yr adeg foreu yna, a bod yr ogof-feddau gerllaw, gyda hynny, yn sail i'r dybiaeth y rhaid fod y llannerch hwn unwaith y tu-allan i'r ddinas.

Y cyntaf i ammheu cywirdeb y traddodiad ydoedd Korte—llyfrwerthwr o'r Almaen, yr hwn a ymwelodd â'r lle yn 1738. Er i'r gwr hwn wneud ei oreu i fyned dan sail y traddodiad, ychydig fu'r llwyddiant. O'r diwedd daeth gwr arall ymlaen, sef Dr. Edward Robinson o'r America, a chychwynodd ef ar y gwaith, sydd wedi myned ymlaen byth er hynny, o fyned dan seiliau y traddodiad trwy ddwyn ymlaen brofion cryfion fod *safle* yr Eglwys neullduol yma yn rhwym o fod yn amser y Ceidwad y tu-mewn i furiau'r ddinas fel y mae'r Eglwys ar hyn o bryd. Dyma felly y pwynt pwysig—Mae Eglwys y Bedd Sanctaidd yn nghanol y ddinas; ond beth am *safle* yr Eglwys honno yn amser yr Iesu, a all ei bod y tu-allan i furiau'r ddinas? Beth am hynny? Ynglŷn â hyn, brawddeg bwysig yw yr un yn Heb. xiii. 12—"A ddyoddefodd y tu-allan i'r porth," ac yn ol y Talmud, yr oedd lle y dyoddefaint y tu-allan i dri phorth a gwersyll (a) tu-allan i eiddo'r Secinah, neu'r Deml ei hun, (b) tu-allan i eiddo'r Lefiaid, neu gynteddau'r Deml, (c) tu-allan i eiddo Israel, neu'r ddinas. Dyma i ni felly brawf pendant ddarfod i'r Croeshoeliad gymmeryd lle y tu-allan i furiau'r ddinas.[1] Ceir mai yr arferiad, yn ddieithriad, ydoedd i'r dienydd-le fod y tu-allan i furiau'r ddinas. Ni roddid rhai i farwolaeth oddifewn i'r ddinas (Lightfoot Op. ii. 7, 8.) Oblegid yr arferiad yna, prin y gellir meddwl am Groeshoeliad Crist yn cymmeryd lle oddi-fewn i ddinas Jerusalem, a byddai yn gwbl ammhosibl meddwl am dano yn cymmeryd lle o fewn y ddinas adeg Gwyl y Pasc.

Y cwestiwn felly yw—A oedd y tir, ar yr hwn y codwyd Eglwys y Bedd Sanctaidd yn amser y Croeshoeliad, y tu-allan i'r ddinas? Ynglŷn â hyn drachefn y mae rhediad yr hyn a elwir yn ail fûr y ddinas, neu fûr Hezeciah,[2] yn d'od yn fater o bwys; oblegid, adeg y Croeshoeliad, hwnnw oedd y mûr mwyaf gogleddol. Ddeng-

[1] Y tu-allan i'r porth yr arferid rhoddi rhai i farwolaeth (Lightfoot Op. ii. 7, 8.)

[2] Sylwer ar y map bychan yn nechreu'r llyfr.

mlynedd ar ol y Croeshoeliad adeiladodd Agrippa yr hyn a elwir yn "Drydydd Mûr" y ddinas, yr hwn a ymestynai i'r gogledd a'r gogledd-orllewin nes peri fod y ddinas tua dwbl yr hyn a amgylchid gan y muriau blaenorol.[1] Nid yw o bwys a oedd lle y Croeshoeliad y tu-allan i fûr Agrippa; yr hyn y mae gofyn am dano yw ei fod y tu-allan i fûr Hezeciah.

Yn awr, dyma ddesgrifiad Josephus o'r ail fûr,—"Cychwynai yr ail fûr wrth Borth Gennath, yr hwn a berthynai i'r mûr cyntaf. Cylchynai ranbarth gogleddol y ddinas a chyrhaeddai mor bell a Thŵr Antonia."[2] Er penderfynu safle *Porth Gennath* a rhediad y mûr oddiyno, rhaid cydnabod, fel y dywed Conder, fod gorweddiad y creigiau yn fater o bwys mawr iawn. Drwy ymchwiliadau helaeth, dygodd Conder i'r amlwg broflon helaeth fod yr ail fûr yn un a gauai oddi-mewn i'r ddinas y fan y saif Eglwys y Bedd Sanctaidd arno. Danghosodd fod hyn yn ffaith—os meddylir am y mûr yn gadael Eglwys y Bedd Sanctaidd y tu-allan iddo'i hun, y byddai yn rhaid meddwl am dano yn rhedeg ar hyd le îs na'r hyn oedd i'w gael y tu-allan iddo. Gyda hyn, dywed y byddai yn annaturiol meddwl am neb yn ceisio amddiffyn dinas drwy ei hamgylchu â mûr fyddai yn golygu fod rhai y tu-allan iddo mewn safle uwch a mwy manteisiol na'r rhai y tu-mewn iddo.[3] Noda Conder, ymhellach, y llinell ar hyd ba un y byddai i beiriannydd milwrol wneud ei fûr, yr hwn gychwynai wrth Borth Gennath, ac a ddiweddai wrth Dŵr Antonia. Aeth Conder i drafferth fawr er penderfynu beth fyddai cwrs naturiol y cyfryw fûr. Gwnaed hynny ganddo tua'r flwyddyn 1878. Yn ddilynol i hynny, mae darganfyddiadau wedi eu gwneud sy'n dangos fod y mûr hwnnw, sef yr ail fûr, yn rhedeg bron yn gymhwys ar hyd yr un llinell ag y dywedai Conder y dylai wneud.

Mae Edwin S. Wallace,[4] yr hwn fu am flynyddoedd yn Jerusalem yn y cymeriad o Lysgenhadwr Americanaidd, ac a gafodd gyfleusderau helaeth mewn undeb ag amryw enwogion i wneud darganfyddiadau, yn tystio mai darnau o'r ail fûr yw yr hyn a adnabyddir fel *Castell Goliath*, yr hwn sydd i'w ganfod o dan

[1] Sylwer ar y *map* bach yn y dechreu.

[2] Rhyfeloedd v. 4, 2.

[3] Tent Work, 194.

[4] Jerusalem the Holy, 206.

Goleg Freres, ymhell i'r gogledd oddiwrth Eglwys y Bedd Sanctaidd. Yn y flwyddyn 1883, darganfyddwyd olion mûr o dan y tai, yn rhedeg ar gefn uchaf y graig o gyfeiriad Gennath tua'r gogledd,[1] ac y mae'n hollol amlwg fod y mûr hwn yn gorwedd ar y gorllewin i Lyn Hezeciah (neu Amygdalon) ac Eglwys y Bedd Sanctaidd. Os, fel y mae'n wir debygol, mai olion o'r ail fûr yw y rhai hyn, fe benderfynir fod y Llyn a safle Eglwys y Bedd y tu-mewn i'r ddinas adeg y Croeshoeliad. Wrth gyfeirio at y darganfyddiadau hyn, dywed Conder y dylent olygu "dyrnod farwol" i'r golygiad traddodiadol, a therfyn pendant (final settlement) ar y cwestiwn, a yw Eglwys y Bedd Sanctaidd yn dynodi lleoedd y Croesholiad a Bedd yr Arglwydd?[2]

Nid yw, wrth gwrs, yn syndod fod yr Eglwysi Dwyreiniol, ag ydynt am gyhyd o amser wedi bod yn glynu wrth y traddodiad parthed Eglwys y Bedd Sanctaidd, yn gwrthod rhoddi dim sylw i'r darganfyddiadau hyn—dim ond eu diystyru a'u dirmygu.

Mae un peth arall, er nad mor bwysig a'r hyn a nodwyd, sef hwn—y byddai cymmeryd y gair "cylchynai" (*κυκλόυμενον*), a ddefnyddir gan Josephus er desgrifio rhediad yr ail fûr oddiwrth Gennath, i olygu un yn gwneud math o dröfa tua'r dwyrain nes gadael Eglwys y Bedd y tu-allan i'r ddinas yn drefniad fyddai yn gwneud y ddinas yn annaturiol o gûl ac afresymol o o ran ffurf.[3] Ac ymhellach, rhaid sylwi y buasai y cyfryw fûr annaturiol a fyddai fel hyn yn gadael Eglwys y Bedd Sanctaidd y tu-allan, yn gadael y tuallan hefyd *Lyn Hezeciah*, neu Lyn Amygdalon. Mae hwn yn llyn henafol iawn. Mewn llythyr attom, dywed Conder,—"Yr wyf yn credu fod yr hyn a elwir yn Lyn Hezeciah yn wir henafol (gwel Esaiah xxxvi. 2), ac mai

[1] Erthygl ar Jerusalem yn Ngeiriadur Hastings.

[2] Palestine, 251.

[3] Gwelir y teimlid hyn gan Seawulf yn 1108, a chan Maundeville yn 1332. Mae Dr. Benzinger, tra yn ystyried y cwestiwn o leoliad Calfaria heb ei benderfynu, a thra yn dueddol i edrych yn ffafriol ar gasgliadau ei gydwladwr Dr. Schick, etto, ynglŷn â hyn, dywed nad yw casgliadau Schick yn rhai argyhoeddiadol. Nid yw Benzinger yn barod i gydnabod mai olion yr ail fûr yw yr hyn a ddarganfyddwyd gan y "Russian Palestine Society" ar y de ac ar y dwyrain i Eglwys y Bedd Sanctaidd. Ymhellach, cydnebydd hyn,—os oedd safle Eglwys y Bedd Sanctaidd y tu-allan i'r muriau, rhaid hefyd fod y ddinas yn rhy gûl ac yn rhy fach i gynnwys y dorf o 2,700,000 fyddai ynddi adeg y Pasc.—Hilprecht, 605.

hwn oedd y gronfa ddwfr oedd gan y Jebusiaid o fewn eu dinas cyn amser Dafydd." Mewn llythyr arall dywed,—"Mae y rhai sy'n derbyn y golygiad traddodiadol yn rhedeg yr ail fûr i'r dwyrain o Lyn Amygdalon, ond nid oes olion teilwng o hono i'w canfod ar yr ochr honno, ac y mae lefelydd y creigiau yn peri y byddai yn annaturiol i mi ddisgwyl eu cael. Heblaw hynny, yr wyf yn casglu oddiwrth Josephus fod Amygdalon yn ddi-os y tu-mewn i'r ail fûr." Hefyd ysgrifena,—"Mae yr ail fûr yn y map a wnaethum i yn cau Llyn Amygdalon i mewn, ac y mae'n deilwng o sylw fod mûr henafol iawn wedi ei ddarganfod i'r gorllewin o Amygdalon, yn rhedeg tua'r gogledd. Nid wyf wedi ei weled fy hun, ond desgrifir ei feini fel yn gyffelyb i'r rhai yn Nhŵr Dafydd, ac felly yn ddiammheuol Herodaidd. I bob ymddanghosiad, olion sydd yma o fûr y ddinas, ac nid oes gennyf yr ammheuaeth lleiaf nad rhan ydynt o'r ail fûr."

Mae olion mûr arall yn cael eu nodi, y rhai sydd i'r de oddiwrth Eglwys y Bedd. Mae rhai yn tybied y gallasai y rhai hynny fod yn olion yr ail fûr, ac y gellid meddwl am y mûr hwnnw yn rhedeg ar y dwyrain i Eglwys y Bedd; ond tystia Conder nad yw yr adeiladwaith yn y fan yna yn gynnarach na'r 12ed ganrif, neu beth bynnag na 800 O.C. pan yr oedd adeilad neullduol i'w gael yn y fan.

Rhaid peidio colli golwg ar y ffaith y byddai y mûr a gauai allan safle Eglwys y Bedd yn cau Llyn Amygdalon hefyd allan, ac y mae'n afresymol meddwl am y llyn mawr a phwysig hwn, allasai mor hawdd a naturiol gael ei gynnwys y tu-mewn i'r ddinas, yn cael ei adael y tu-allan, ac o ganlyniad, yn amser ymosodiad, yn gwasanaethu ar y gelynion ac nid ar y dinaswyr.

Mae Conder, mewn modd argyhoeddiadol, yn dangos nas gallasai safle Eglwys y Bedd Sanctaidd fod, yn amser yr Iesu, y tu-allan i'r ddinas, ac yr oedd Dr. Ed. Robinson, a Dr. W. M. Thomson eisoes wedi dangos yr un peth mewn ffyrdd eraill. Dyma'r prif brofion—

(1) Nid yw olion yr ail fûr i'w cael ar ochr ddwyreiniol yr Eglwys.

(2) Byddai yn afresymol meddwl am y mûr yn y fan honno, gan y byddai ar safle îs lawer na'r tir fyddai y tu allan i'r ddinas ac wrth ei hymyl.

(3) Byddai y mûr adawai safle yr Eglwys y tu-allan i'r ddinas yn gadael allan hefyd hên lyn Amygdalon.

(4) Byddai mûr yn gwneud cylch nes gadael y llyn a safle'r Eglwys y tu-allan i'r ddinas yn un a wnai y ddinas yn annaturiol o ran ffurf, ac yn rhy fach i gyfatteb i'r amgylchiadau.

Er amser Robinson, a dyweyd y lleiaf, y mae ystyriaeth wedi ei rhoddi i safleoedd eraill, ac y mae wedi bod yn arferiad i ymofyn a yw y cyfryw safleoedd yn d'od i fyny â'r safon hon—a ydynt yn cyfatteb i'r amgylchiadau nodir yn yr Ysgrythyr? Rhaid i safle y Croeshoeliad gyfatteb i'r pethau canlynol:—

(1) Fod y tuallan i furiau'r ddinas, Mat. xxvii. 31, 32; xxviii. 11; a Heb. xiii. 12.

(2) Fod yn agos i'r ddinas, Ioan xix. 20.

(3) Fod yn agos i brif-ffordd, Mat. xxvii. 39; Marc xv. 29; Luc xxiii. 26.

(4) Fod yn weladwy o bellder, Mat. xxvii. 55; Marc xv. 40; Luc xxiii. 49.

(5) Fod claddfa a gardd heb fod ymhell oddiwrth y lle, Mat. xxvii. 59; Marc xv. 46, 47; Luc xxiii. 53; Ioan xix. 41, 42.

(6) Ymddengys hefyd y rhaid fod yna briodoldeb mewn galw y lle yn "benglog"—Mat. xxvii. 33; Marc xv. 40; Luc xxiii. 33; a Ioan xix. 17.

Dadleua Dr. Samuel Manning[1] fod yr holl amgylchiadau hyn yn cael eu cyfarfod pe meddylir am ryw safle yn nyffryn Cedron ar ochr ddwyreiniol y ddinas. Cymmerir fod Mat. xxvii. 31, 32; Marc xv. 20; Luc xxiii. 26; Ioan xix. 17; yn profi na arweiniwyd mo'r Iesu mewn gorymdaith drwy'r ddinas, eithr iddo yn fuan iawn fyned y tu-allan i'r muriau. Cymmerir hefyd y gallasai yr offeiriaid, os mai yn nyffryn Cedron y cymmerodd y Croeshoeliad le, weled a gwatwar heb symmud o honynt oddiar faes y Deml, ac heb halogi eu hunain drwy hynny, Mat. xxvii. 41; Marc xv. 31; Ioan xviii. 28. Dadleua Dr. Hutchinson dros yr un safle yn nghylchgrawn y Palestine Exploration Fund am Gorphenaf 1873.

[1] Those Holy Fields 107.

Ond y mae lle arall yn tynnu llawer mwy o sylw fel lle tebygol y Croeshoeliad, ac y mae'r gystadleuaeth rhwng y lle hwnnw ac Eglwys y Bedd Sanctaidd yn myned yn fwy-fwy aiddgar. Saif y lle ar ochr ogleddol y ddinas. Darn yw o fryn Bezetha, ac y mae'r darn yna wedi ei wahanu oddiwrth y darn arall, ar yr hwn y saif y ddinas, drwy fod agorfa neu fath o ddyffryn cul yn rhedeg ar draws y bryn, wedi ei ffurfio trwy i feini gael eu codi oddiyno at adeiladu, yr hyn, fel y mae pob lle i gredu, gymmerodd le ymhell cyn amser y Ceidwad, mor bell yn ol, feallai, ag amser Hezeciah.

Yr enw lleol ar y darn bryn hwn sydd yn sefyll ar ei ben ei hun i'r gogledd o'r ddinas ydyw *el-Heidemiyeh*, enw yn golygu, fe ddywedir, *yr hyn a dorrwyd ymaith*, gan gyfeirio at yr ysgariad fu arno oddiwrth y gweddill o Bezetha trwy y maen-gloddio fu yno; neu gellir cymmeryd yr enw i gyfeirio at y torri ymaith, neu y marwolaethu, fu yn hanes y drwg-weithredwyr yn y lle.

Esboniad yr Arabiaid ar yr enw yw, y golyga—*le Heidem*, a bod Heidem yn enw ar dywysog Arabaidd enwog, yr hwn a gladdwyd ar y bryn.

Mae traddodiadau Mahometanaidd a Christionogol yn ffafrio y golygiad mai *el-Heiremiyeh* a ddylai'r enw fod, a ffafrir yr enw hwn o "le Jeremiah" ymhellach gan draddodiad Iuddewig i'r perwyl mai yn yr ogof o dan y bryn hwn y bu Jeremiah yn cyfansoddi ei Alarnad,[1] ac mai ar y bryn y cafodd ei labyddio. Yn gyffredin iawn, o ganlyniad, adnabyddir y lle fel *Ogof Jeremiah* (Jeremiah's Grotto.)

Y mae o hanner-cant i driugain mlynedd bellach er pan y mae rhai wedi dechreu meddwl am Heidemiyeh fel lle y Croeshoeliad, a ffurf eithriadol y bryn, fel y ceir sylwi etto, oedd un o'r prif bethau a gyfeiriasant sylw at y lle.

Erbyn hyn y mae ystyriaeth bwysig wedi ei datguddio, ac y mae yn deilwng o sylw nad oedd wedi ei datguddio pan ddechreuwyd meddwl am *Heidemiyeh* fel lle y Croeshoeliad. Yr ystyriaeth honno yw, mai y bryn hwn ydoedd hên ddienyddle y genedl Iuddewig, mai efe yw y *Beth-has-sekilah* y sonia y Mishna am dano,

[1] Mae gan Eglwys Groeg *Apocrypha*, yr hwn a ddefnyddir ganddynt, ac y mae'r hanes yma am Jeremiah yn cael ei ddysgu ynddo. Mae hanes arall mai yn alltudiedig yn yr Aipht yr oedd pan gyfansoddodd ei Alarnad.

ac wrth hynny y golygir tŷ y llabyddio. Ar ochr y bryn y mae clogwyn tua 50 troedfedd o uchder, ac yr oedd yn arferiad i daflu y drwgweithredwr dros y clogwyn hwn, yr hyn a wneid gan y tyst cyntaf. Yn ol arferiad arall codid y troseddwr ar drostan fyddai ar ben y bryn a lluchid y dyn â cherrig, wedi i'r tyst daflu atto y garreg gyntaf. Dengys y Talmud hefyd mai nid rhoddi i farwolaeth yn unig trwy labyddio a wneid ar y bryn hwn, eithr ar un adeg gwneid hynny trwy rywbeth tebyg i groeshoeliad.[1] Gwir, fel y sylwyd, fod yr Iuddewon yn amser yr Iesu wedi eu hamddifadu o'r gallu i roddi yn gyfreithiol i farwolaeth yn y naill ffordd a'r llall. Mae'n anhawdd gweled ar ba sail y ceisir dadleu na buasai'r Rhufeiniaid yn mabwysiadu fel dienyddle yr hyn a fuasai yn ddienyddle gan yr Iuddewon. Beth fuasai yn fwy naturiol na'u bod yn ei fabwysiadu?

Dyma etto, yn ol traddodiad Cristionogol boreu, y llannerch ar ba un y llabyddiwyd Stephan. Nid yw y traddodiad arall sydd yn lleoli y weithred honno y tu-allan i Borth Dwyreiniol y ddinas ond peth yn perthyn i'r 15fed ganrif, a pheth yn cael ei gefnogi gan bleidwyr y traddodiad ynghylch Eglwys y Bedd Sanctaidd. Sylwer felly mai camgymmeriad ydyw galw y Porth Dwyreiniol wrth yr enw o Borth Stephan. Y porth a elwid wrth yr enw hwnnw cyn y 15fed ganrif oedd yr un a elwir yn awr yn Borth Damascus. Ychydig y tu-allan i Borth Damascus, yn nghyfeiriad Heidemiyeh, darganfyddwyd, yn Ionawr, 1881, olion, fel y credir, o'r Eglwys a godwyd gan Eudocia er cof am Stephan. Ar ei mûr cafwyd darlun o'r Ceidwad yn eistedd yn nghanol ei ddisgyblion. Oddi-tanodd i'r Eglwys cafwyd ogof-feddau, a bernir fod bedd Stephan yno yn un. Engraifft arall, medd Dr. Russell Forbes, o dduwiol-dwyll yr hanesydd Socrates yw yr hanes ddarfod i arch Stephan gael ei darganfod yn Caphar Gamala, a bod yr arogl ddeilliai o'r arch yn iachau pob rhyw glefydau.

Nid oes clogwyn tebyg i Heidemiyeh i'w gael yn nghymmydogaeth Jerusalem; nid oes unman y buasid yn ei ddewis yn

[1] "Nid oedd y gospedigaeth weinyddid yn y fan hon yn gyfyngedig at y dull Iuddewig o labyddio, fel y mae'n eglur oddiwrth frawddeg o'r Talmud (Sanhedrim vi. 1—4), yr hon a ddengys fod Croeshoeliad yn beth gymmerai le weithiau ar 'Dy'r Llabyddio'" (House of Stoning)—"Gosodasant draws yn y ddaear, a dodasant un arall yn groes iddo, ac yna codasant ef i'r groes a chylymasant ef arni." Dyfynedig o "Edwin S. Wallace ar Jerusalem the Holy City."

ddienyddle o'i flaen; ac oblegid yr hên gyssylltiadau—fel lle dychrynllyd yr arfera yr Arabiaid feddwl am dano, lle na fynnant fyned heibio iddo yn y nos, os gallant beidio.

Cawn fod Heidemiyeh yn cyfatteb yn hollol i'r amgylchiadau nodir am le y Croeshoeliad yn yr Ysgrythyr, ac y mae hyn yn hynod bwysig.

(1) *Mae y tu-allan i furiau'r ddinas.*—Felly y mae yn awr, ac felly, yn ddiddadl, yr oedd yn amser yr Iesu. Yn ol arferiad a deddf Iuddewig a Rhufeinig y tu-allan i'r porth (extra portam) y cymmerai dienyddiadau le, ac yr oedd yr amgylchiadau yn gyfryw fel nas gellir meddwl am eithriad ynglŷn â Chroeshoeliad Crist. Sonia y gwahanol Efengylwyr am danynt yn ei arwain "ymaith," ac "allan" i'w groeshoelio.

(2) *Mae yn agos i'r ddinas.*—Y tu-allan i Borth Damascus y mae Heidemiyeh, a thua 500 troedfedd oddiwrth fûr y ddinas. Tua'r un pellder fyddai o Antonia i Heidemiyeh ag i'r fan lle saif Eglwys y Bedd Sanctaidd. Gellir meddwl am yr orymdaith, ar ol myned ychydig drwy'r dref, yn myned drwy yr hyn a elwir ar y *map* bach yn Borth y Pysgod, ac yna yn syth am y bryn; neu yn myned o Antonia gan osgoi y ddinas, trwy fyned ar gylch dwyrain-ogleddol tua'r bryn. Myn'd drwy Borth y Defaid, meddai Dr. Forbes, a wnaethant. Ryw chwarter awr fuasid yn myned o Antonia i Heidemiyeh. Prawf fod y lle yn agos ydyw hyn—fod cenad yn myned o Antonia yno ac yn ol tra y bu Joseph o Arimathea yn aros am attebiad i'w gais.

(3) *Mae ffyrdd yn myned heibio'r lle.*—Yr oedd dwy ffordd yn myned heibio Heidemiyeh. Elai un tua Sichem a lleoedd eraill yn y gogledd, ac yr oedd mewn rhan yn cyfatteb i'r ffordd sydd ar hyn o bryd yn arwain tua'r gogledd oddiwrth Borth Damascus. Yr oedd y llall yn hanner-amgylchu y bryn, ac yna yn myned tua Cesarea, ar lan Môr y Canoldir. Dyma y brif-ffordd frenhinol. Gallasai y teithwyr elent ar hyd y ffyrdd yna, adeg y Croeshoeliad, weled yn eglur yr hyn gymmerai le, a byddent yn ddigon agos i wawdio, wrth fyned heibio'r fan. Dyfod ar hyd ffordd "o'r wlad" yr oedd Simon pan gyfarfyddodd yr orymdaith, a "myned heibio" yr oedd y bobl a gablent y Crist croeshoeliedig.

(4) *Mae'r lle yn amlwg ac yn weladwy o bell.*—Mae pen Heidemiyeh, neu pen Calfaria, gymmaint a 2550 o droedfeddi uwchlaw y môr, a 110 o droedfeddi uwchlaw y Graig Sanctaidd ar faes y Deml. Oblegid yr agorfa sydd wedi ei gwneud yn Bezetha, hynny yw, y dyffryn sydd rhwng Heidemiyeh a'r ddinas, y mae'r bryn hwnnw yn sefyll yn amlwg ar ei ben ei hun. Gwir yw na sonir yn yr Ysgrythyr am le y Croeshoeliad fel mynydd na bryn, ond y mae dyweyd fod y teithwyr yn gweled y groes o'r ffordd, a bod yr edrychwyr yn ei gweled "o hirbell" yn tybied ei bod ar fryn amlwg. Lle felly yn hollol yw Heidemiyeh. Gallasai y bobl o wahanol gyrau'r ddinas ei weled yn hawdd. Prin y gellir meddwl y gallasai y safle sydd y tu-mewn i Eglwys y Bedd Sanctaidd fod yn un amlwg, ac nid oes gwybodaeth am unrhyw ffordd a allasai fod yn myned heibio'r lle.

(5) *Y mae pob lle i gredu fod claddfeydd gerllaw'r lle adeg y Croeshoeliad.*—Yr oedd claddfa Iuddewig bwysig yn y gymmydogaeth hon. Yma y ceir bedd Simon y Cyfiawn, ac eithaf naturiol fyddai chwilio am fedd Joseph o Arimathea yn y fan hon. Bydd i ni etto sylwi ar yr un a ystyrir fel bedd Joseph a bedd yr Arglwydd. Mae Heidemiyeh a'r gymmydogaeth ar hyn o bryd yn gladdfa Fahometanaidd bwysig. Yn y llyfr hwn gwelir darlun cywir hollol o Ben Calfaria, yn dangos tri dyn wrth swp o gerrig wedi eu casglu ynghyd ar fan uchaf y bryn, a gerllaw i'r rhai hyn, ar y chwith, fe welir rhai beddau o eiddo'r Mahometaniaid. Mae hysbysrwydd am gladdfa Fahometanaidd yn bod yno er y 15ed ganrif.

Pe gofynid, A yw yn debygol fod bryn Croeshoeliad Crist wedi d'od yn gladdfa gan Fahometaniaid? atebwn nad ydym yn gwybod am ddim sydd yn gwneud hynny yn annhebygol. Yn hytrach, fel y sylwa Conder, byddai yn hollol gysson â syniadau ac arferion y Mahometaniaid i hên ddienyddle'r Iuddewon gael ei throi yn gladdfa ganddynt hwy. Mae claddedigaethau hên a diweddar wedi cymmeryd lle o gwmpas y bryn, ac wrth edrych ar rai o'r beddau sydd i'w cael yno, naturiol fyddai golygu mai beddau mewn gerddi oedd y rhai hynny.

Ymysg eraill darganfyddwyd, yn 1881, ogof-fedd Iuddewig neullduol iawn. Saif hwn o dan y bryn, ryw ddau cant o latheni o ben y bryn. Cyfrifir mai bedd Iuddewig yn perthyn i'r cyfnod Herodaidd ydyw. Gall felly mai hwn oedd "y bedd newydd"

roddodd Joseph at wasanaeth yr Arglwydd. Mae ffurf y bedd etto yn cyfatteb i'r cyfeiriadau yn yr hanes. Yr oedd gan yr Iuddewon ddau fath o feddau. Yn y naill a'r llall ceid dwy ystafell—un allanol ac un fewnol. Y trefniad yn y math a elwid y *Kokim* oedd fod traed y meirw, orweddent yn yr ystafell fewnol, tuag at yr ystafell allanol (ante-chamber). Dyna'r math mwyaf cyffredin a mwyaf henafol. Ond ystyrir fod y cyfeiriad yn yr hanes at yr angelion yn sefyll "un wrth ben a'r llall wrth draed y fan lle y dodwyd corph yr Iesu," yn dangos mai nid dyna'r math o fedd gafodd yr Iesu, eithr math arall diweddarach, yn yr hwn yr oedd trefniad gwahanol, sef fod y corph yn gorwedd yn gyfochrog â'r ystafell allanol. Yn ol y trefniad hwn gallasai yr un edrychai i mewn i'r ystafell allanol weled y ddau angel. Mae'n deilwng o sylw mai dyma'r math o fedd ddanghosir yn yr ardd wrth droed Heidemiyeh, ac mai nid hwn yw y math ddanghosir fel bedd yr Arglwydd yn Eglwys y Bedd Sanctaidd.[1] Mae'r ardd hon yn ddiweddar wedi ei phwrcasu gan gwmni o Gristionogion Prydeinig, a gobeithio na bydd i'r rhai hyn efelychu y Cristionogion Dwyreiniol mewn anurddo y lle yma etto gydag addurniadau ffôl a gwrthwynebus.

(6) *Mae priodoldeb mewn galw y lle hwn wrth yr enw "penglog."* —Fel y sylwyd, dyna'r enw geir mewn gwahanol ieithoedd arno, a rhaid dyweyd y byddai llawn cymmaint o briodoldeb mewn rhoddi i hwn yr enw yna oblegid y ffurf sydd arno, ag a fyddai galw y mynydd ar ochr ddwyreiniol y ddinas yn Fynydd yr Olewydd oblegid y coed dyfent arno.[2] Wrth edrych oddiwrth fûr gorllewinol y ddinas byddai yn naturiol i un feddwl am benglog —dyna ddywed Dr. Henderson a lluaws eraill.[3] Rhoddir yn y llyfr ddarlun o ochr y bryn sy'n ei wneud i ymddangos megys penglog. Gellir gweled mewn llyfrau, weithiau, ddarluniau o hono yn dwyn ger ein bron y penglog yn amlycach nag yw yn hwn, ond darluniau dychymmygol i raddau yw y rhai hynny.

[1] Sylwa Syr J. W. Dawson, F.R.S., fod hyn, sef ffurf y bedd, yn fater o bwys ynglŷn â'r cwestiwn mewn dadl.

[2] Nid oes neb bellach yn dadleu iddo dderbyn ei enw oddiwrth benglogau y rhai roddasid i farwolaeth arno, oblegid nid lle y penglogau a ddywedir, ac ni chaniatteid i benglogau fod o gwmpas. Mae rhai yn dadleu, ac yn eu plith awdurdod fel Guthe, iddo dderbyn yr enw oblegid y traddodiad i benglog Adda gael ei ddarganfod yno.

[3] Palestine, 165.

Sylwer ar y darlun (photograph) yma o hono, a gwelir fod y tebygrwydd i benglog yn ddigon i gyfrif am yr enw.

Pwy oedd y cyntaf i sylwi ar y ffurf penglogaidd sydd ar Heidemiyeh, ac oblegid hynny i farnu mai hwn ydoedd lle y Croeshoeliad? I hyn ettyb Dr. Selah Merrill mai i'r Parchedig Dr. Rufus Anderson y perthyn yr anrhydedd hwnnw. Pan gyda Dr. Eli Smith, yn 1845, yn edrych ar y bryn oddiwrth Borth Damascus, datganodd Anderson mai Heidemiyeh, yn ol ei farn ef, oedd y gwir Galfaria. Yn ol Warren yn Ngeiriadur Hastings, Otto Thenius, yn y flwyddyn 1849, oedd y cyntaf i farnu felly. Adroddir yn llyfr Ed. L. Wilson[1] am Mr. Fisher Howe o Brooklyn yn ymweled â Jerusalem yn 1852, ac yn y flwyddyn ddilynol yn cyhoeddi llyfr ar "Oriental and Sacred Scenes," yn yr hwn y danghosir i Mr. Howe dderbyn yr argraff yma wrth edrych ar y bryn oddiar Acre—"O edrych arno o'r pellder mae'r bryn o ran ffurf megys penglog, a gallasai yn hawdd iawn mewn iaith gyffredin dd'od i gael ei adnabod fel y Benglog (Κρανιον). Yn 1871 cyhoeddodd Mr. Howe lyfr arall ar y teitl, "The true site of Calvary," yn yr hwn yr ymwrthyd yn llwyr â'r golygiad traddodiadol, ac y dadleua mai bryn Heidemiyeh yw y "Benglog," neu Golgotha.

Tua'r un adeg ymwelodd Dr. Charles S. Robinson â Jerusalem. Ymwelsai yn flaenorol i hynny yn 1867. Yr ail waith yr oedd ganddo fel cymdeithion Proffeswr Paine o Gaergystenyn, a'r Parch. Dr. Hall o America. Yr oedd Robinson eisoes, wrth edrych ar Heidemiyeh oddiar yr Olewydd, wedi derbyn yr argraff am benglog, a chymmerodd ei ddau gydymaith i'r un man er gweled a dderbynient hwy yr un argraff. Yr hyn a ddigwyddasai gydag ef ddigwyddodd gyda hwythau. Am benglog y meddyliasant i'll dau, a hynny heb dderbyn unrhyw arweiniad, ac heb wybod fod neb o'u blaenau wedi meddwl am hynny wrth edrych arno.

Fel hyn etto y dywed Mr. Laurence Oliphant—"Mae pobpeth yn dangos mai y bryn y tu-allan i Borth Damascus yw lle y Croeshoeliad, ac yn profi nas gall y safle traddodiadol, a Fffordd y Gofid (Via Dolorosa) sydd yn arwain tuag atto, fod yn rhai cywir."

[1] In Scripture Lands R.T.S.

Dywedai Dr. Macphail wrthym mai d'od i gredu yn y "Calfaria Newydd" y mae bron bawb a roddant ystyriaeth i'r mater erbyn hyn.

Mae Dr. Selah Merrill[1] hefyd wedi datgan ei farn, ac fel un fu am flynyddau mewn sefyllfa o bwys a dylanwad yn Jerusalem, ac at hynny yn ysgolhaig gwych a hynafiaethydd dyogel, y mae yr hyn ysgrifenir ganddo yn wir bwysig. Sylwa fod lluaws o'r awdurdodau pennaf ar y mater yn cymmeryd mai y bryn hwn, y tu-allan i Borth Damascus, ydyw y gwir Galfaria. Cyfeiria at yr olwg darawiadol iawn sydd i'w chael ar y bryn oddiar yr Olewydd, a mannau eraill yn ac o gwmpas y ddinas; ac yn ngwyneb pobpeth gofyna—Onid hwn, wedi'r cwbl, yw'r Benglog —lle y Croeshoeliad? Gan gyfeirio drachefn at y gladdfa Fahometanaidd sydd ar y bryn, gofyna Merrill, "Onid ydym i weled llaw Rhagluniaeth yn hyn?" oblegid ceir fod y gladdfa wedi bod yn foddion effeithiol i gadw y lle rhag cael ei feddiannu gan ddieithriaid, a'i anurddo gan adeiladau defodwyr. Wrth gwrs, llawer mwy dymunol i deimlad Cristion fyddai peidio cael y gladdfa yno ychwaith.

Naturiol fyddai gofyn sut y mae'r bryn yma wedi d'od i gael ei adnabod fel *Calfaria Gordon?* Gadawn i Wallace atteb. Fel hyn y dywed[2]—"Cadben Conder oedd yr awdurdod gwirioneddol cyntaf i ddadleu mewn argraff o blaid y Calfaria newydd yma, ac etto perthyn i Dr. Selah Merrill, y Llysgenhadwr Americanaidd, ran o'r clod gyda'r darganfyddydd Prydeinig. Nid yw'r bryn, er hynny, yn derbyn ei enw oddiwrth y naill na'r llall o honynt hwy, ond oddiwrth un oedd, oblegid ystyriaethau eraill, yn fwy adnabyddus na hwy, sef y Cadfridog Gordon. Ryw ddwy flynedd cyn ei ymgyrch ddiweddaf i fyny'r Nile, ymwelodd y milwr enwog hwnnw â Jerusalem, ac ar ol clywed am yr hyn ddysgid gan Conder ac eraill daeth yntau i gydolygu, a datganodd farn groyw iawn y rhaid eu bod yn iawn. Yn ddilynol i hyn darfu i fasnachydd yn y ddinas ag oedd yn gwerthu darluniau o'r bryn roddi "Calfaria Gordon" fel enw arno, ac wrth yr enw yna yr adnabyddir ef yn gyffredin iawn byth er hynny."

Mewn llythyr dderbyniwyd oddiwrth Conder ychydig wythnosau

[1] Picturesque Palestine.

[2] Jerusalem the Holy, 210.

yn ol, sylwa "nad oes neb wedi gallu cyfarfod y gwrthddadleuon a ddygodd ymlaen yn erbyn y safle traddodiadol, y rhai a brofent y rhaid fod y safle honno y tu-mewn i ail fûr y ddinas." Ynghylch y llall a gynnygir fel safle y Croeshoeliad, sef yr un wrth Ogof Jeremiah, a'r un a adnabyddir fel Bryn y Benglog, dywed Conder ei fod, ar ol rhoddi ystyriaeth helaeth i'r mater am amryw flynyddau, yn teimlo *yn ymarferol sicr* mai hwn yw y gwir safle. Nid yw yn gallu bod mor sicr ynghylch yr ogof-feddau sydd gerllaw y bryn. Ystyria fod un o honynt (sef yr un y cyfeiriasom atto eisoes) yn ddiammheuol Iuddewig. Ar y cyfan, ystyria mai ammhosibl fydd i ni dd'od i feddu seiliau digonol i allu bod yn sicr ynghylch "y bedd lle y dodasant yr Arglwydd."

Yn y flwyddyn 1873, darganfyddwyd ymhlith y beddau olion adeilad wedi ei godi gan y Crwysgadwyr. Darganfyddiad arall wnaed yn ddiweddar ydoedd bedd yn perthyn i'r cyfnod Herodaidd, ac yn argraffedig arno y geiriau—"Yn gorwedd yn agos i'w Arglwydd."

Dylem ddyweyd i ni ddechreu ein hastudiaeth o'r mater hwn gydag argraff gref ar ein meddwl fod lle y Croeshoeliad i'w gael y tu-mewn i Eglwys y Bedd Sanctaidd; ond yr ydym yn diweddu yr astudiaeth honno gyda phob parodrwydd i gyd-ddyweyd â Dr. Henderson am Heidemiyeh, Ty y llabyddiad Iuddewig, a'r Calfaria Newydd, mai hwn, *yn ol pob tebyg*, yw "y Benglog," sef lle y Croeshoeliad a'r gwir Galfaria. Yn ngwyneb y cwbl teimlwn na raid i ni betruso sôn am "Fryn y Groes" a "Phen Calfaria," ac y mae'n dda gennym feddwl am Golgotha wedi ei gadw yn Ddwyfol syml fel yr oedd pan arweiniwyd ein Meichiau yno, ac nid yn lle wedi ei anurddo gan yr addurniadau a'r llafurwaith ymddanghosiadol a berthyn i ddefodaeth, a da gennym ymhellach yw ymuno âg Edersheim mewn sôn am y lle moel hwn fel "y llannerch gyssegrediccaf a gwerthfawroccaf yn y Ddinas Sanctaidd i gyd."

Ceir yn y llyfr yma ddau ddarlun da o fryn Calfaria,—un yn gosod allan ei ochr glogwynog, a'r llall yn gosod allan y gwastadedd sydd ar ei ben. Gorchuddia y gwastadedd hwn tua tair erw o dir. Mae lle ardderchog ar ben bryn Calfaria i gynnal cyfarfodydd, ac ym mysg y lluaws o weinidogion Cristionogol sydd wedi bod yn pregethu i gynnulleidfaoedd o bobl ar y bryn, y mae Mr. Moody a Dr. Talmage. Sut bynnag y teimla y

Mahometaniaid, nid ydynt, yn ddiweddar o leiaf, wedi codi gwrthwynebiad i Gristionogion i ymweled â'r bryn, lle y rhoddwyd Tywysog eu bywyd i farwolaeth, na'r fan lle y claddwyd yr Adgyfodiad Mawr, a diolch am hynny, oblegid da iawn oedd gennym gael y fraint, fwy nag unwaith, o sefyll ar y bryn, gan geisio addoli yno wrth feddwl mai—

"Y bryn ordeiniodd Duw
Yn nhragwyddoldeb yw,
I godi'r marw'n fyw
Trwy farwol glwy."



## YR OLEW-WYDD.

Yr Olew-wydd (neu Olewydd) yw y mwyaf o fynyddoedd Jerusalem, a mawr yw ei enwogrwydd. Enw yr Arabiaid arno yw Jebel-et-Tur, hynny yw, Mynydd y Pigyn. Enw arall arno yw Mynydd y Goleuni. Derbynia ei enw mwyaf arferol oddiwrth y coed Olewydd oedd unwaith yn lluosog iawn arno. Fel hyn y sonia'r Ysgrythyr am dano—"y mynydd a elwir Olew-wydd, yr hwn sydd yn agos i Jerusalem, sef taith diwrnod Sabbath." Mae taith Sabbath yn 2000 o gufyddau, neu tua tri chwarter milldir.

I Gristion y mae'r Olewydd mor gyssegredig a Sïon neu Moriah. Mae hefyd yn llawer mwy swynol, oblegid yn un peth nid hawdd yw cael syniad am y modd yr edrychai rhai o'r mynyddoedd mewn amser a fu, eithr nid felly am yr Olewydd. Yn hytrach cawn fod hwn yn sefyll o'n blaenau heddyw, megys cynt, yn ei gymeriad priodol, ei brydferthwch swynol a'i gyssylltiadau cyssegredig. Tlws iawn y dywed Dyfed am dano yn ei lyfr, "Gwlad yr Addewid,"—

"Gan ing a gweddïau y mynydd gysegrwyd,
  A'i enw drwy'r oesau yn anwyl a wnawd;
Y llecyn diweddaf o'r ddaear a sangwyd
  Yn myd y cystuddiau gan Dduw yn y cnawd;
Ei laswellt eneiniwyd gan ddagrau yr Iesu,
  A'i chwys fu'n dyferu yn waed arno ef,
Nes gwneyd i enwogrwydd y mynydd ddyrchafu
  Mor uchel i fyny a gorsedd y nef."

Yr oedd yr Israeliaid wedi cymmeryd meddiant o Fynydd yr Olewydd cyn eu bod wedi gallu meddiannu Dinas Jerusalem. Yn eu cyfyngder ar ol colli Arch Duw y mae sôn am danynt yn codi y Tabernacl i fyny mewn gwahanol fanau. Ymysg y lleoedd y bernir i'r Tabernacl fod am yspaid y mae lle ar yr Olewydd yn cael ei nodi. Barna Deon Stanley ac eraill mai ar drum uchaf yr Olewydd y safai Dinas Nob. Yn ol y Mishna Iuddewig cawn i'r Secinah, ar ol gadael y Cyssegr yn Jerusalem, fod yn aros am yspaid o dair blynedd a hanner ar yr Olewydd, a hynny er mwyn gweled a fyddai i'r genedl edifarhau a diwygio nes gwneud yn bosibl iddo yntau wneud ei gartref, megys cynt, yn ninas Jerusalem. Onid ydym i ddeall fod y ddysgeidiaeth hon yn adlewyrchu pennod o hanes y genedl yn ynglŷn âg arall heblaw y Secinah





Y CEDRON, GETHSEMANE A'R OLEWYDD.—t.d. 152.

Dwyfol, sef yr Hwn ag oedd yn "ddisgleirdeb gogoniant Duw, ac yn wir lun ei berson ef."

Oddiwrth ysgrifeniadau y tadau boreuaf cawn y teimlid dyddordeb mawr yn yr Olewydd. Dywed Eusebius ei bod yn arferiad yn ei ddyddiau ef (270—338) i bererinion Cristionogol ddyfod o bob parth o'r byd i addoli ar yr Olewydd. Fel canlyniad codwyd ar y mynydd addoldai ac adeiladau eraill er adeg pur foreu. Dinystriwyd hwy pan ddaeth y mynydd i feddiant y Mahometaniaid; ond y mae olion o honynt, ac addoldai eraill cyssylltiedig â hwy, i'w cael yno yn awr.

Ceir ar yr Olewydd dri neu bedwar pigyn ag y rhaid eu gwahaniaethu. Y pigyn neu'r trum uchaf yw yr un mwyaf gogleddol. Adnabyddir hwnnw fel y pigyn Galileaidd, ac arno ef, meddir, yr ymddanghosodd yr angelion i'r disgyblion (Act. i. 11). Adnabyddir un arall fel pigyn y prophwydi, am mai yn hwnnw y mae Claddfa y Prophwydi. Ond y pwysicaf yw yr un canolog, yr hwn a adnabyddir fel yr Olewydd priodol. Saif ar gyfer Maes y Deml, ac y mae 200 troedfedd yn uwch na'r ddinas. Mae'r trum gogleddol yn uwch drachefn, ac yn 2723 o droedfeddi uwchlaw'r môr.

Gelwir y trum canol yn Fynydd yr Esgyniad. Mae traddodiad boreu iawn yn ei nodi allan fel y llannerch oddiar ba un yr esgynodd yr Iesu. Oblegid y traddodiad adeiladodd Elen, yn 333 O.C., Eglwys ar y fan, yr hon a adnabyddir byth er hynny fel *Eglwys neu Gapel yr Esgyniad.* Mae dinystrio ac adeiladu drachefn wedi bod ar yr adeilad neu'r adeiladau hyn dro ar ol tro, ond ymddengys nad yw'r fangre wedi bod heb adeilad arno er amser Cystenyn ac Elen. Un peth o ddyddordeb, yn cael ei ddangos o fewn yr adeilad er yn foreu yw "ôl troed yr Iesu," neu yr argraff wnaeth yr Iesu ar graig o garreg galch gyda'i gyffyrddiad olaf â hi wrth esgyn. "Perthyn y mae'r capel er's llawer dydd i'r Mahometaniaid, y rhai a'i hystyriant yn gyssegredig."[1] Yn gyssylltiedig âg ef y mae mosc, ac y mae un o swyddogion y mosc yn arfer myn'd i ben y capel i gyhoeddi yr "oriau i weddïo," fel y clywo y pentrefwyr gerllaw. Dyma engraifft o hên gapel Cristionogol yn cael ei gadw, ac mewn rhan ei ddefnyddio, gan Fahometaniaid. Ar achlysur neullduol caniatteir i'r Cristionogion ddefnyddio'r

[1] Prof. Socin (Baedeker).

capel. Ar *Wyl y Dyrchafael* bydd yno gynnulliad lluosog o Gristionogion yn addoli, a chedwir y gwahanol bleidiau o honynt mewn trefn gan y swyddogion Mahometanaidd a Thyrcaidd. Amgylchynir y capel gan fûr, ac yn y cyntedd o fewn y mûr hwn y mae gan y gwahanol grefyddwyr allorau neu gapelau; o leiaf, y mae rhai gan y Groegiaid, yr Armeniaid, y Coptiaid a'r Syriaid. Tumewn i'r mûr neu'r muriau hyn felly ceir Mahometaniaid a gwahanol bleidiau o Gristionogion yn cyd-grefydda, ac y maent yn gwneud hynny yn y fan hon am y tybiant mai mangre yr Esgyniad ydyw. Ond sut y mae'r Mahometaniaid yn addoli mewn man sydd wedi d'od yn gyssegredig yn syml oblegid cyssylltiad yr Iesu âg ef? Maent yn gwneud hynny yn y fan hon, fel mewn manau eraill yn y wlad, am ddim rheswm ond fod yno addoli, ac nad ydynt yn foddlon i eraill addoli heb eu bod hwythau, yn eu ffordd, yn gwneud hynny hefyd.

Ond y mae'n wir ammheus fod Capel yr Esgyniad yn sefyll ar y fan oddiar ba un yr esgynodd yr Iesu. Byddai, fodd bynnag, yr un mor ofer ceisio argyhoeddi y Cristionogion Dwyreiniol, ofergoelus a defodol, o hyn ag a fyddai eu hargyhoeddi nad yw "Eglwys y Bedd Sanctaidd" yn cynnwys o'i mhewn—ymysg llu o bethau eraill—Golgotha fryn a Bedd yr Arglwydd.

Ychydig i'r gogledd oddiwrth Gapel yr Esgyniad a'r pentref sydd wrtho, y mae gan y Rwsiaid, neu'r Groegiaid, Eglwys fawr. Cydmarol ddiweddar yw yr un sydd yno yn awr, ond y mae Eglwys yn y fan er's llawer dydd. Yn gyssylltiedig â'r Eglwys hon y mae Tŵr gyda 214 o risiau i'w ben. O ben y tŵr yna gellir cael yr olygfa oreu o ran eangder ac amrywiaeth sydd i'w chael yn yr holl wlad. Dywedir fod y Rwsiaid wedi cyfrannu tuag at godi y tŵr hwn, ynghyda rhai eraill sydd yn y wlad, oblegid y cyfrifent y byddai iddynt wasanaethu fel *gwylfeydd* pan ddeuai Gwlad Palestina yn eiddo iddynt hwy. A yw hyn, tybed, i fod?

Gan y Cristionogion Groegaidd y mae y rhan helaethaf o adeiladau ar yr Olewydd yn awr, ond ymddengys fod y Cristionogion Lladinaidd am ymgystadlu â hwy. Yn ddiweddar mae'r Pabyddion wedi sicrhau rhan ychwanegol o'r mynydd, a bydd iddynt, yn sicr, ddatblygu eu sefydliadau crefyddol ar y mynydd. Y brif eglwys sydd gan y Pabyddion yn awr ydyw *Eglwys Paternoster*, yr hon, yn ol traddodiad, sydd yn dynodi'r fan lle y dysgodd yr Iesu ei ddisgyblion i weddïo. *Paternoster* ydyw "Ein Tad," sef

y gair cyntaf yn *Ngweddi yr Arglwydd.* Parodd hyn i'r weddi honno gael ei galw *Y Pader*, ac yn nghyntedd yr Eglwys Babaidd hon ar Fynydd yr Olewydd cawn y Pader yn argraffedig mewn 32 o ieithoedd, a drwg iawn, wrth gwrs, oedd gennym weled nad oedd i'w gael yn ein hên iaith ni; ond rhaid cofio mai gwaith y Pabyddion ydoedd hyn, pobl nad oes ganddynt fawr feddwl am Gymru, mwy nag sydd gan Gymru o honynt hwythau. Ynglŷn â'r Eglwys hon mae sefydliad gan y Chwiorydd Carmelaidd (Carmelite Sisters). Merched yw y rhai hyn, fe'n hysbysir, sydd yn arfer ymbarottoi gogyfer â dydd marwolaeth, trwy fyned am oriau bob dydd i'w heirch. Y merched hyn sydd yn gofalu am yr eglwys, a dywedir na welir mo honi ddydd na nos heb fod un neu ragor o honynt ynddi yn gwasanaethu ac yn addoli. Mae gan y Pabyddion eglwys fechan arall ar y mynydd, yr hon a elwir yn *Eglwys y Credo*, ac y mae honno, yn ol traddodiad sydd yn ffynnu yn yr Eglwys er y 14eg ganrif, yn dynodi y fan lle y ffurfiwyd *Credo yr Apostolion.*

Fel y gellid disgwyl, y mae y gwahanol adeiladau sydd gan addolwyr ar yr Olewydd yn cael eu cyssylltu, fwy neu lai, gydag Esgyniad Crist. Mae y traddodiad ynghylch man arbennig yr Esgyniad wedi bod yn amrywio rhyw gymmaint, ac nid rhyfedd hynny, oblegid y mae yn lled debygol na chymmerodd le oddiar yr un o'r manau a nodir trwy eglwysi, &c. Y mae'r crybwylliad am yr Esgyniad yn yr Ysgrythyr, o leiaf, yn gwneuthur hyn yn debygol. Dywed Luc (xxiv. 50)—"Ac efe a'u dug hwynt allan hyd yn Bethania," neu fel y gosodir ef yn y Cyf. Diwyg., "hyd onid oeddynt gyferbyn â Bethania." Y casgliad naturiol oddiwrth y darlleniadau hyn yw, mai nid i ben yr Olewydd y cymmerodd yr Iesu hwynt, ond i ryw fan ar ochr ddwyreiniol y mynydd (cyd. Act. i. 12) yn agos i Bethania, a chyferbyn â'r pentref hwnnw. Ym Methlehem y daeth y Duw-ddyn i'r byd, a gerllaw Bethania y gadawodd y byd, ac yr oedd angelion Nef yn y ddau le ar y ddau amgylchiad. Y mae y rhai sydd yn credu yn Ail-ddyfodiad Crist i drigo eilwaith ar y ddaear yn deall mai disgyn a wna i'r man oddiar ba un yr esgynodd, sef disgyn ar yr Olewydd gerllaw Bethania. Y mae llawer eraill yn credu mai uwchben yr Olewydd yr ymddengys ar y cymmylau pan y daw i farnu y byd yn y diwedd.

Cawn etto fod yr Olewydd, yr hwn sydd mor ddyddorol i Gristion, yn fynydd o ddyddordeb mawr i feddwl a theimlad

Iuddew. Y mae ochr orllewinol y mynydd, sydd yn gwynebu y Deml, yn orchuddedig gan fedd-feini Iuddewig. Dyma gladdfa fawr yr Iuddewon—y bwysicaf a feddant yn y byd, lle y mae miliynau o'u tadau wedi eu claddu. Y mae claddu yn yr Olewydd yn d'od yn beth mwy a mwy poblogaidd o hyd. Mae llawer o Iuddewon allant drefnu hynny yn d'od i Jerusalem i ddiweddu eu hoes fel y byddo iddynt gael eu claddu yn yr Olewydd gyda'u tadau.

Rywfodd, y mae'n grêd ymhlith Iuddewon a Christionogion fod y meirw sydd yn gorwedd yn naear yr Olewydd i dderbyn rhyw ffafrau ddydd a ddaw, megys mai hwy fydd y rhai cyntaf o bawb i gael eu hadgyfodi, &c. Oblegid coleddu rhyw grêd fel yna, o bosibl, y trefnodd y diweddar Ardalydd Bute fod i'w galon, ar ol ei farwolaeth, gael ei chymmeryd allan o'i gorph a'i chladdu ym Mynydd yr Olewydd. Ym Mhasc 1901 bu ei weddw yn Jerusalem yn cyflawni y gymwynas ddiweddaf hon â'i phriod—yn claddu ei galon mewn dirgel-fan ar yr Olewydd.

Mae'r darlun roddir gennym o'r Olewydd yn dangos i ni yn berffaith gywir yr olwg sydd i'w chael ar Gethsemane a Mynydd yr Olewydd wrth i un ddisgyn o'r ddinas. Yn ngwaelod dyffryn Cedron gwelir pont; ychydig tu hwnt i'r bont, ar y chwith, gwelir adeilad hanner adfeiliedig, sef "Claddfa y Forwyn"; a thu hwnt i hynny, ar y dde, "Gardd Gethsemane" wedi ei chau i mewn; a thu hwnt iddi hithau drachefn, ar y dde, adeilad mawr a hardd, sef "Eglwys Mair Magdalen," yr hon sy'n Eglwys Roegaidd, wedi ei hadeiladu gan Ymherawdwr Rwsia yn 1888, gyda saith o binaclau crynion, prydferth arni. Nid yw y darlun yn gallu dangos i fantais y capel ar ben yr Olewydd, sef "Capel yr Esgyniad," na'r pentref bach a'r adeiladau eraill.

Mae'r rhan honno o'r Olewydd sydd i'r de-ddwyrain o'r ddinas, ac i'r de oddiwrth bentref Siloam, yn cael ei adnabod wrth yr enw o *Fynydd y Llygredigaeth (Mount of Corruption*, ac yn ol y *Vulgate, Mount of Offence).* Wrth ymyl hwn safai "yr uchelfeydd oedd ar gyfer Jerusalem, y rhai a adeiladasai Solomon brenhin Israel i Astoreth ffieidd-dra y Sidoniaid, ac i Cemos ffieidd-dra y Moabiaid, ac i Milchom ffieidd-dra meibion Ammon" (1 Bren. xi. 7, 2 Bren. xxiii. 13).

Ar gyfer y bryncyn hwn, ond yr ochr arall i ddyffryn Hinnom,

y mae yr hyn a elwir yn *Fryn y Drwg-Gynghor (Hill of Evil Counsel).* Y traddodiad yw fod gan Caiaphas balasdy yn y wlad, ac mai ar y bryn hwn yr oedd ei safle. Yn y palasdy yma y bu ef ac eraill yn ymgynghori ynghylch y modd i ladd yr Iesu, ac oddiwrth hynny derbynia y bryn ei enw.

Rhwng y ddau fryn yma y mae *Aceldama.* Gosodai Eusebius y lle hwnnw yn ngogledd y ddinas, ond er y 7fed ganrif y mae traddodiad yn nodi y lle hwn yn Hinnom, ac yn ei alw yn *Hakk-ed-Dumm,* yr hyn a olyga Faes y gwaed. Rhoddwyd yr enw hwnnw ar hên *faes y crochenydd,* wedi iddo gael ei brynu âg arian gwaed yr Iesu, y rhai ddychwelwyd gan Judas (Mat. xxvii. 3—10). Oddiwrth Act. i. 18, 19, gellid meddwl mai ar y maes hwn y cyflawnodd Judas hunan-laddiad, ac mai oddiwrth hynny y derbynia'r maes ei enw newydd. Dadleua Schick nad oes clai crochenydd i'w gael yno. Sut bynnag am hynny, y mae pridd y lle wedi d'od yn enwog ar gyfrif ei duedd i bydru yr hyn fydd ynddo mewn byr amser. Oblegid hyn cludwyd 270 o lwythi llong oddiyno i'r fynwent Campo Santo yn Rhufain, a saith llwyth i fynwent Pisa.

Gerllaw i Aceldama y mae nifer o ogofeydd, y rhai ddefnyddid ar un adeg fel claddfeydd, ac ar adeg arall fel tai i fyw ynddynt, ac fel lleoedd i addoli ynddynt.

O bosibl y dylem ychwanegu fod nid yn unig Aceldama yn cael ei ddangos i ni, ond, ar lai o sail, fod y goeden ffigys, ar yr hon yr ymgrogodd Judas yn cael ei dangos. Pa fath ffigys a dŷf arni yn awr, os tŷf rhai, nis gwyddom.

Mae *Mynydd Scopus* (mynydd y weledigaeth) ar y gogledd i'w ystyried megys parhad o Fynydd yr Olewydd. Ar ben hwn, yn ol yr hanes, y gwersyllodd Titus pan ddaeth i ddinystrio'r ddinas. Oddiar ei ben ef hefyd y bendithiodd miloedd lawer o deithwyr wrth gael yr olwg gyntaf ar y Ddinas Sanctaidd.

***Bethphage.***

Oddiwrth Mat. xxi. 1, Marc xi. 1, a Luc xix. 29, gwelir fod pentref o'r enw yma ar yr Olewydd, ac yn cael ei gyssylltu gyda Bethania.

Pan yn hysbysu am yr hyn welodd yn 1172 O.C., dywed Theodericus fod Bethphage yn sefyll rhwng Bethania a Mynydd yr Olewydd, fod yno eglwys dda ar y pryd, ymha un y danghosid y *maen* ar yr hwn y safai yr Iesu pan ddygwyd yr "ebol" atto iddo ei farchogaeth i'r ddinas.[1] Mor ddiweddar a 1877 darganfyddwyd olion eglwys[2] yn y man y gellid tybied fod safle Bethphage, sef tua hanner y ffordd rhwng Bethania a chopa'r Olewydd. Un peth neullduol yn yr eglwys hon oedd darn o graig, sef yr un, yn ol pob tebyg, a'r maen y soniwyd am dano. Codai y darn craig yma ryw lathen mewn uchder, ac ar yr ochrau yr oedd darluniau o ddigwyddiadau cyssylltiedig â'r ardal, megys cyfodiad Lazarus, a'r orymdaith i'r ddinas.

Ystyr enw Bethphage yw *ty y ffigys.* Mae ychydig o goed ffigys i'w canfod yn awr ar y ffordd o Bethania i Jerusalem, ac y mae'n werth cofio mai yma y cafodd yr Iesu y *Ffigysbren ddiffrwyth.* Yr oll y gellir bod yn sicr yn ei gylch yn nglŷn â Bethphage yw, y rhaid ei fod yn sefyll ar y ffordd rhwng Bethania a phentref bychan o'r enw *Kefr-et-Tur*, yr hwn sydd yn sefyll ar y rhan arbennig o'r mynydd a elwir yn briodol yn Olewydd, ac y mae y pellder rhwng y ddau bentref, sef Bethania ac *et-Tur*, tua hanner milldir. Dylid sylwi ar enwau tri o leoedd sydd i'w cael yn yr un gymmydogaeth: Bethania—ty y palmaeron; Bethphage—ty y ffigys; a Bethlehem—ty y bara.

### *Bethania.*

Oddiwrth ddesgrifiadau yr Efengylau o'r lle hwn yr ydym i feddwl am dano ar Fynydd yr Olewydd, ar y ffordd i Jericho, yn agos i Bethphage, a phymtheg ystad, hynny yw, ychydig dan ddwy filldir, o Jerusalem. Cyfettyb y desgrifiadau yn hollol i bentref bychan sydd i'w gael o'r enw *el-Azeriyeh*, sef lle Lazarus. Nid ydym yn deall i ammheuaeth fod o gwbl mai hwn yw y pentref y daeth yr Iesu i'r fath gyssylltiad âg ef.[3] Nid ydyw y pentref yn weladwy o Jerusalem, trwy ei fod yn sefyll ar ochr ddwyreiniol Mynydd yr Olewydd. Cyfettyb Bethania i ystyr ei enw mor bell a bod yno gyflawnder o goed ffrwythydd.

[1] Syr Charles Wilson's "Picturesque Palestine," cyf. i., 89.

[2] Eglwys o eiddo'r Crwysgadwyr.

[3] Conder yn Ngeir. Hastings. Desgrifir ei safle yn fanwl yn yr *Onomasticon*.

Golwg pur dlodaidd sydd ar y pentref hwn, ond y mae'r trigolion, gan mwyaf, fel trigolion Bethlehem, yn Gristionogion; y maent yn foesgar i ddieithriaid, yn lân ac yn ddiwyd gyda'u gorchwylion. Gwaith neillduol pobl Bethania ydyw cludo llaeth ac angenrheidiau eraill i'r ddinas.

Cyssylltiad â'r Iesu yn unig sydd wedi gwneud Bethania fach yn fyd-enwog, ac ar wahan i'r hanes wnaeth yr Iesu i'r lle nid oes iddo yn yr Hen Destament na'r Newydd ddim hanes o gwbl. Y pentref hwn oedd megys cartref gan yr Iesu pan yr arhosai yn Jerusalem a'r cylch. Yma y cyflawnodd, feallai, y fwyaf o'i wyrthiau trwy adgyfodi ei gyfaill Lazarus, wedi iddo fod yn y bedd bedwar diwrnod.

Yr adeilad mwyaf tarawiadol sydd i'w weled yn y pentref heddyw ydyw hên fynachdy adeiladwyd yn 1147 O.C. gan y frenhines Milicent. Gelwir ef gan rai yn *Gastell Lazarus*, sef castell yn dynodi man ei fedd. Islaw'r adeilad ceir dwy ogof dywell, a'r leiaf o honynt ychydig is na'r llall. Er myned iddynt bydd yn rhaid i bob un wrth ganwyll, a bydd yn rhaid disgyn 29 o risiau serth, culion a budron, ac amryw o honynt yn ddarnau. Yr ogof fach, tan-ddaearol yna, yn ol y traddodiad cyffredin, yr hwn hefyd sydd yn hên iawn, yw'r fan y bu corph Lazarus yn gorwedd. Gwir yw y rhaid wrth ddirdyniad meddyliol er gallu credu hynny,[1] ond etto y mae'n ffaith fod Eglwys Gristionogol wedi ei chodi er dynodi y fan mor foreu a'r bedwaredd ganrif, a bod gennym felly yr un math o brawf mai yr ogof yma ydoedd bedd Lazarus ag sydd gennym mai yr ogof o fewn Eglwys y Bedd Sanctaidd yn Jerusalem (yr hon a adeiladwyd tua'r un adeg a'r Eglwys yn Bethania), ydyw yr ogof a fu yn fedd am ran o dridiau i'n Ceidwad. Os yw traddodiad yn ddigon gyda'r naill, paham nad yw gyda'r llall? Nid digon ynddi ei hun yw y ffaith fod eglwysi boreuol fel hyn wedi eu codi er dynodi mangre y ddau fedd, ond gofynir fod ystyriaethau eraill yn cadarnhau y ffaith. Nis gall un lai na theimlo fod dyfnder yr ogof yn anhawsder i gredu ynddo; ond gall hefyd mai yr esboniad ar hyn yw yr adeiladau sydd wedi eu codi, y naill ar ol y llall, uwchben yr ogof. Y gwir yw nas gall sicrwydd y naill ffordd na'r llall fodoli ynghylch yr ogof hon.

[1] "Nid yw y traddodiadau yn unman mor wrthun ag yn Bethania."—Historical Geography Dr. Macphail.

Danghosir hefyd yn y pentref adfeilion amryw dai, megis eiddo Lazarus a'i chwiorydd, eiddo Simon, &c.; ond rhaid wrth raddau helaeth o hygoeledd i dderbyn yr hyn ddywedir.

Er pobpeth, gwir gyssegredig yn ngolwg Cristion a fydd Bethania a'r cylch. Mae'n gwestiwn gennym a oes yn y wlad i gyd fan â mwy o swyn yn ymgyssylltu âg ef yn nghyfrif Cristion na Bethania fach, dlawd. Ym mha le y cafodd y "Gŵr gofidus, cynefin a dolur," fwy o dawelwch a gorphwysdra? Ym mha le y danghoswyd mwy o garedigrwydd tuag atto, ac y danghosodd yntau fwy o dynherwch ei galon? Ym mha le y cafodd yr Hwn nad oedd iddo megys "le i roddi ei ben i lawr," fwy o groesaw a gwell cyfeillion nag a gafodd yn Bethania? Ym mha le ar wyneb daear y mae ffyrdd neu lwybrau mwy cyssegredig na'r rhai o gwmpas Bethania? Y rheol yn y wlad honno yw fod ffyrdd a ffynhonau y wlad yn gorfod gwasanaethu i'r trigolion am genhedlaethau yn ddiderfyn, ac nad oes cais am ffyrdd na ffynhonau newyddion.

Y ffordd bresennol o Bethania i Jerusalem, i bob tebyg, oedd y ffordd yn amser y Ceidwad. Mewn un dröfa ar y mynydd y mae y ffordd wedi ei nhaddu o'r graig, ac nis gellir meddwl am nemawr ddim cyfnewidiad wedi bod arni yn y fan honno. Ar dröfa arall yn y ffordd deuir i olwg y ddinas, ac y mae'n eithaf naturiol meddwl am y cyfryw safle fel y fan y collodd yr Iesu ddagrau uwchben y ddinas, y datganodd ddymuniad am allu ei harbed fel yr arbeda "iar ei chywion," ac y rhagfynegodd y dinystr oedd yn d'od. Ar hyd y ffordd hon yr elai yr orymdaith fawr frwdfrydig pan gludwyd yr Iesu mewn moliant brau i'r ddinas ychydig ddyddiau cyn ei angeu. Wrth gael ei gludo ymlaen byddai iddo weled Gethsemane islaw iddo, y Deml ac Antonia gyferbyn âg Ef, a Golgotha draw ar y dde iddo. Y mae llwybr arall yn arwain i Bethania o gyfeiriad Jericho ag y rhaid credu ei fod yn henafol iawn. Gellir yn lled ddibetrus gredu i'r Duw mewn cnawd ei gerdded, a cheisiem ninau ei gerdded mor ofalus ag y medrem, gan ddeisyfu dodi ein traed lle y bu ei droed sanctaidd Ef. Yn ngwaelod y llwybr hwn y mae adeiladau wedi bod er's llawer dydd er dynodi y fan y cyfarfu dwy chwaer Lazarus â'r Iesu, yn ol yr hanes yn Ioan xi. 20—30.

Y mae y ffordd o Bethania i Jericho yn hynod henafol. Yn ddiweddar gwnaed ffordd newydd—y ffordd oreu yn y wlad, yn

rhedeg ochr yn ochr a'r hên ffordd. Gwnaed honno ar gyfer Ymherawdwr yr Almaen; ond os teimla rhyw rai yn falch gael teithio y ffordd a gyssegrwyd gan ei Fawrhydi, gwell gan eraill o hyd fydd teithio yr hên ffordd arw, ag y mae ei llawr mewn llawer lle yn gyfryw nes peri fod cyfnewidiad ynddi yn beth ammhosibl, a'r ffordd y bu traed yr Iesu droion arni. Taith beryglus hyd heddyw yw y daith o Jerusalem i Jericho, ac nid doeth i deithiwr fyned ar hyd-ddi heb fod gydag ef warchodwyr Bedwaidd o gymmydogaeth Bethania, presennoldeb pa rai fydd yn foddion i brynu ewyllys-da y Bedwaid ar hyd y ffordd. Ar y ffordd hon y mae y "lletty" y cyfeiria'r Iesu atto yn y ddammeg, ac y mae defnydd mawr yn cael ei wneud o hono o hyd. Y mae lluaws o Arabiaid Bedwaidd i'w cael yn nghymmydogaeth Bethania, y rhai a hawliant y gorchwyl a'r tâl o ofalu am y teithwyr i Jericho a'r Mor Marw.

Golygfa ddifrifol iawn yn nghymmydogaeth Bethania yw yr olwg ar y gwahangleifion sydd i'w cael yn sypiau ar fin y ffordd yn cardotta, gyda'u cyrph wedi eu hanffurfio a chyda hên sach-lieiniau yn wisg am danynt. Nid yw yn sŷn i'r cyfryw olygfa apelio at galon y cymwynaswr anfeidrol nes peri iddo gyflawni llawer gwyrth ar y dosbarth hwn o ddyoddefwyr truanaidd ac esgymunedig.

Yn ystod wythnos ei farwolaeth treuliodd yr Iesu y dyddiau yn y ddinas a'r nosweithiau yn Bethania. Felly y gwnaeth hyd brydnawn Dydd Iau, pryd y mae yn myned o Bethania i'r ddinas i farw. O Bethania ar yr Olewydd felly y cychwynodd yr Iesu i'r Groes, ac oddi yno hefyd yr esgynodd i'r Gogoniant.



## ADDOLWYR PRESENNOL Y DDINAS.

Mor bell ag y mae hanes am y ddinas yn bod, cynnwysa hanes am addoli. Mae'r addolwyr a'r addoliad wedi amrywio llawer.

Yn gyntaf oll, yr ydym i feddwl am fath cyntefig o addoliad yn cael ei ddwyn ymlaen dan arweiniad brenhin Jerusalem.

Pan ddygodd Dafydd Arch yr Arglwydd i'r ddinas daeth Iuddewiaeth i gael cartref yno, a pharhaodd y ddinas ar ol hynny yn gartref cydnabyddedig y Grefydd Iuddewig hyd adeg y Dinystr o dan Titus. Bu felly am tua mil a chant o flynyddau.

Yn ystod y rhan gyntaf o'r cyfnod Rhufeinig yr oedd y ddinas, o ran ei chrefydd, mewn rhan yn Iuddewig ac mewn rhan yn Gristionogol, ond gan mwyaf yn baganaidd ac eilunaddolgar; yn ystod y rhan olaf o'r cyfnod daeth yn fwy Cristionogol nag y bu un amser.

Er canol y seithfed ganrif (637 O.C.) mae Mahometaniaeth wedi bod, oddigerth yn ystod Canrif y Crwysgadwyr (1099—1187 O.C.), yn brif grefydd y ddinas, tra y mae caniattad, mwy neu lai, i Gristionogaeth ac Iuddewiaeth fod yno hefyd.

***Yr Iuddewon.***

Naturiol yw meddwl yn gyntaf oll am Iuddewiaeth Jerusalem. Fel y ceir sylwi etto, bu y Tabernacl am beth amser mewn lleoedd eraill—yn Siloh, yn Gibeon, yn Nob, ac feallai yn Mispah; ond er hynny ar Jerusalem y dylid edrych fel cartref priodol y Grefydd Iuddewig.

Fel y sylwyd eisoes, y mae yn Jerusalem—gan gynnwys y 23 trefedigaeth sydd o gwmpas y ddinas—gymmaint a 41,000 o Iuddewon. Yn ol amcan-gyfrif arall a welais maent yn 42,500. Yn ddiweddar y mae'r mwyafrif o honynt wedi ymsefydlu yno, a pharhant i lechu dan nawddogaeth y teyrnasoedd dieithr y buont yn ddeiliaid o honynt. Gellir dyweyd am yr Iuddewon mai nid un genedl mo honynt yn awr, ond casgliad o genhedloedd gwahanol, ac y mae hynny i'w weled yn eglur yn Jerusalem. Tra yn cael eu huno gan eu crefydd, dosrennir hwy hefyd trwy eu bod wedi ymgorphori gyda gwahanol genhedloedd. Gwelir gwa-

haniaeth eglur rhwng yr Iuddewon Rwsiaidd a'r Iuddewon Almaenaidd: y rhai cyntaf yn ymgyssylltu â Rwsia, a'r rhai diweddaf yn ymgyssylltu, gan mwyaf, â Lloegr ac â'r America. Dywedir fod gwehilion y genedl i'w cael ar hyd y byd yn rhoddi an-air i'r genedl fel y cyfryw. Sut bynnag am hynny, mae'n amlwg mai "nid Israel yw pawb a'r sydd o Israel." Iuddewon o radd isel, er engraifft, yw y cardottwyr hynny ddeuant o Persia. Ar y llaw arall, mae'r Iuddewon o Yemen yn Arabia yn bobl anrhydeddus a da, er yn dlawd. Credir mai hiliogaeth Gad yw y rhai hyn, adawsant Gaethiwed Babilon ac a ymsefydlasant yn Arabia. Cododd ynddynt yn ddiweddar awydd am fyned i'r hên wlad i ddisgwyl am ddyfodiad y Messiah, ac yno y mae trefedigaeth o honynt.

Perthyna i rai dosbarthiadau o Iuddewon neillduolion crefyddol. Er engraifft, mae'r *Caraitiaid*—yr isel-eglwyswyr fel y geilw Conder hwy—yn rhai sy'n ymddibynu yn hollol ar yr Hên Destament, gan wrthod yr holl ysgrifeniadau Talmudaidd. Nodweddir y Cassidiaid, drachefn, gan wrthwynebrwydd eithafol i Gristionogaeth a phob dylanwadau y tu-allan i Iuddewiaeth.

Sylwyd eisoes fod masnach Jerusalem bron yn llwyr wedi d'od i ddwylaw'r Iuddewon, a thêg yw holi pa beth sydd yn cyfrif am lwyddiant masnachol y bobl hyn? Dyma atebiad Herzfeld, fel y'i gosodir yn ngeiriau prydferth Hosmer yn ei "Story of the Jews:"—

"The Jews, originally, had no special turn for trading. In the earlier day, their life we have seen to be that of herdsmen, tillers of the soil, and handi-craftsmen of the simplest sort. Their traffic was insignificant even after their return from the exile, until the Macedonian days, when mercantile intercourse with other nations became among them a more frequent pursuit. Even then commerce was far from absorbing them. But in the countless lands into which they were at length carried by the dispersion, they were often forced to follow quite other paths than the old. The prejudices of the races among which they came frequently forebade to them the ownership of land and the following of the handicrafts. Commerce became to them the easiest, most natural resource; as they practised it their dexterity increased. The success they reached aroused a disposition which their ancestors did not possess. The awakened

trading-spirit favored the dispersion; the dispersion, on the other hand, stimulated the trading-spirit, until, through the interaction, the Jews were everywhere scattered and everywhere merchants."

Ond er holl fedr yr Iuddew i lwyddo ceir fod, feallai, y mwyafrif o Iuddewon Jerusalem yn bobl segur, yn gwneud dim ond mynychu'r synagogau, gan ymddibynu am gynhaliaeth ar Iuddewon gwledydd dieithr. Mae ychydig o Iuddewon y ddinas yn byw mewn rhwysg. Byw yn îs na'u hamgylchiadau y mae corph y bobl. Mae'n syndod eu bod yn gallu byw—gymmaint a deg o honynt yn aml mewn ystafell fechan dan-ddaearol a thywell. Ond, er hynny, byw yn lled iach y maent, tra yn gymdeithasol a moesol nid ydynt ar ol i ddim pobl.

Nid oes prinder mewn cyfrannu tuag at "y saint yn Jerusalem." Mae cronfa yn bod a elwir yr *Haluka*—ryw gronfa gynnorthwyol gogyfer âg Iuddewon yr hên gartref. Yn ngwahanol wledydd Iwrop ac America y mae goruchwylwyr i dderbyn rhoddion i'r Haluka, a rhai eraill yn Jerusalem i'w gwasgaru fel elusenau. Nid pobl anghenus yn unig sy'n derbyn o'r Haluka, a gwaeth na hynny sicrheir fod rhan helaeth o'r rhoddion yn cael eu cadw yn dwyllodrus gan y goruchwylwyr. Dywed Mr. Edwin Sherman Wallace, yr hwn, oblegid ei gyssylltiad â Jerusalem yn ogystal âg America, a ddylai fod yn gwybod, am 45,000 o ddoleri yn cael eu casglu mewn blwyddyn i'r Haluka yn America, ac o'r swm mawr yna 6000 o ddoleri yn unig a ddosbarthwyd yn Jerusalem, tra y bu i'r swm o 39,000 fyned yn yspail i'r goruchwylwyr.

Galwyd sylw eisoes at nifer y Synagogau. Adeg Dinystr Jerusalem yr oeddynt, medd Edershaim, yn 480. Cyfriflr am y lluosowgrwydd trwy fod llawer o honynt ond megys capel preifat yn perthyn i deulu; a chawn y gall unrhyw ddeg o addolwyr drefnu i gael synagog iddynt eu hunain, ac yn aml ni bydd y synagog honno ond un o ystafelloedd tŷ, yr hon fydd wedi ei neillduo at y pwrpas. Yn ngoleuni y ffaith yna yr ydym i ddeall Act. ii. 46, v. 42, Rhuf. xvi. 3—5, 1 Cor. xvi. 19, Col. iv. 15, Philemon 2.

Dwy brif synagog y ddinas ydynt y *Beth Yakob*, neu tŷ Jacob, a'r *K'hal Stambouli;* ac y mae cyrchu helaeth a chysson i'r rhai hyn.

Mae nifer o *Wyliau* yn cael eu cadw yn ofalus yn y ddinas o hyd; ond nid fel cynt, oblegid sut y gellir eu cadw megis cynt pan nad oes na theml nac offeiriad ganddynt. Rhyw adlewyrchiad o aberthu sydd ganddynt hyd yn nod ar wyl fel y Cymmod. Mae gan y Samariaid ar Gerisim ychydig rhagor.

Ar Wyl y Pebyll nid ydynt yn gwneud amcan at aberthu, eithr cadwant i fyny'r arferiad o "drigo mewn pebyll." Codir y babell ar nen y tŷ, neu yn agos at y tŷ. Ynddi y bydd y gwrywiaid yn treulio adeg yr wyl; ynddi yr arferir croesawu dieithriaid, ac yr ymgesglir i lawenhau fel y mae'r wyl yn gofyn am iddynt wneud. Mae'r arferiad o gysgu yn y pebyll yn darfod, neu o leiaf yn dibynu ar y tywydd.

Gwyl ag y gosodir pwys eithriadol arni gan amcanu myned i mewn i'w hysbryd yw *Gwyl y Purim.* Adeg yr wyl hon ymgasgla torfeydd i'r prif synagogau. Darllenir Llyfr Esther, a phob tro yr enwir Haman ymuna'r holl gynnulleidfa i'w felldithio, gan gydddyweyd y geiriau, "Bydded i'w enw gael ei ddileu ymaith." Meithrinir yr un ysbryd a'r un arferiad yn y plant. Yn un peth dysgir hwy i ddefnyddio dwy garreg gydag enw Haman ar un o honynt, a thrwy rwbio y ddwy yn nghyd danghosir fel y mae enw Haman i gael ei rwbio ymaith.

Ar ôl y cynnulliadau hyn yn y synagogau bydd ganddynt ddydd o lawenydd eithriadol. Rhaid ychwanegu ei fod yn ddydd o lygredigaethau eithriadol gyda hynny. Ceisia pawb y wledd foethusaf allant gael; rhoddir moethau yn helaeth i'r plant; ac ni ystyria y rhai mewn oed eu bod yn cadw yr wyl yn deilwng ôs na bydd iddynt yfed hyd at ormodedd. El y Talmud mor bell a dysgu hynny. Ar bwys Esther ix. 20—22, lle y sonir am ddau ddydd i'w "cynnal yn ddyddiau gwledd a llawenydd" er cof am dristwch yn cael ei droi yn llawenydd, a dydd galar yn d'od yn ddydd daionus—dysga y Rabbiniaid mai dyledswydd dyn ar wyl y Purim yw bwyta cig ac yfed gwin nes y bo yn feddw, ac yn ei feddwdod yn syrthio i lawr (Hilkhoth megillah ii. 5). Ymhellach dysga y Talmud fod dyn "yn rhwym o yfed gwin adeg y Purim nes d'od mor feddw fel nas gall wahaniaethu rhwng dyweyd melldigedig fo Haman a dyweyd bendigedig fo Mordecai." Adroddai athraw un o'r ysgolion Seisnig sydd yn y ddinas iddo ofyn i Iuddewes fach paham na addawai dd'od i'r Ysgol ddydd y Purim, ac iddi hithau yn ddigon gonest atteb—"Nis gallaf dd'od oblegid

byddwn oll fel teulu yn feddw ar y dydd hwnnw." Y gwir, o ganlyniad, yw fod sobreidd-dra yr Iuddewon yn syndod pan y cawn eu bod adeg y Purim, adeg y Pasc ac adegau eraill yn cael eu dysgu i yfed hyd at feddwdod fel gweithred grefyddol.

Creda yr Iuddewon mewn addysg lawer mwy na'r Mahometaniaid. Mae'r rhai diweddaf wedi bod yn dysgu nad oedd angen rhoddi addysg i ferched, eithr mai addurn merch ydoedd anwybodaeth, ac yn wir nad oedd gan ferch enaid fel sydd gan ddyn. Gwell gan yr Iuddewon hefyd yw gweled geni bachgen na geni merch. Nid ydynt, mae'n wir, yn diraddio'r ferch fel y gwna y Mahometaniaid, ond edrychant arni yn ei thŷ a'i chylch priodol fel yn gydradd â'r dyn. Eithr mewn cylchoedd cyhoeddus, megys yn y synagog, lle is-raddol roddir iddi. Trefnir oriel at wasanaeth y merched. O'r oriel hon gallant glywed a gweled rhyw gymmaint; ond nis gall yr addolwyr eu gweled hwy, ac nid oes dim o'u llais i'w glywed gan yr addolwyr. Yn y darlun sydd gennym o Le'r Wylofain nid oes yr un Iuddewes yn y golwg. Arferant hwy fyned yno a sefyll gyda'u gilydd ar wahan oddiwrth y dynion, a bod yn hollol ddistaw.

Trwy garedigrwydd un o'r Rothschilds y mae ysgol ar gyfer merched wedi ei sefydlu yn y ddinas, ond nid yw y Rabbiniaid yn gweled yn briodol gefnogi dim arni. Ar y llaw arall, maent yn rhoddi pob cefnogaeth i'r amrywiol ysgolion sydd yno ar gyfer y bechgyn.

Mae priodasau cyd-rhwng y plant, ac adeg eu priodas nid ydynt ond plant, yn cael eu trefnu gan eu rhieni, a mater o fasnach yw hynny yn aml iawn. Mae aml-wreiciaeth yn beth posibl ac arferol hyd yn nod ym mysg y Rabbiniaid. Mae ysgariad drachefn yn beth hynod hawdd, ac yn cymmeryd lle yn fynnych.

Disgwyl am i'r Messiah dd'od y mae'r bobl o hyd. Ail-groeshoeliant y Crist groeshoeliwyd gan eu tadau, a dysgant y plant i'w gondemnio a'i gashau Ef a'i ddilynwyr.

Mae personau unigol a chymdeithasau o bobl wedi bod am flynyddau lawer yn llafurio yn eu plith gan geisio symmud ymaith "y gorchudd," a dwyn y bobl hyn o'r diwedd i'r goleuni; ond bach iawn yw'r llwyddiant ag ystyried maint y llafur a maint y

draul. Mae anghrediniaeth a gwrthwynebiad rhagfarnllyd yr Iuddewon heddyw mor eithafol ag y bu un amser. Dro yn ol gwrthodwyd claddedigaeth i Iuddewes mewn unrhyw gladdfa Iuddewig, oblegid ei bod wedi marw pan yn myned dan driniaeth mewn Ysbytty Gristionogol.

Gofldus yw gorfod ychwanegu at y cwbl—nad yw y math o Gristionogion a Christionogaeth ddanghosir yn y wlad yr help mwyaf effeithiol at ddwyn yr Iuddewon i roddi i fyny Grefydd eu tadau a chofleidio Crefydd Crist.

Cael eu hadfer i'w dinas a'u gwlad, a chael crefydda yno megys cynt, yw dymuniad angherddol y genedl sydd bellach wedi bod am gyhyd yn alltudiedig a digartref ar hyd y byd. Mae Duw hefyd, trwy enau tri o'i brophwydi, wedi peri iddynt obeithio hyn—

Esaiah xi. 12: "Efe a gynnull grwydriaid Israel, ac a gasgl waredigion Judah o bedair congl y ddaear."

Jeremiah xxxi. 10, 28: "Yr hwn a wasgarodd Israel, a'i casgl ef, ac a'i ceidw fel bugail ei braidd."

"Megys y gwyliais arnynt i ddiwreiddio, ac i dynnu i lawr, ac i ddinystrio, ac i ddifetha, ac i ddrygu; felly y gwyliaf arnynt i adeiladu, ac i blannu, medd yr Arglwydd."

Ezeciel xxxvi. 24: "Mi a'ch cymmeraf chwi o fysg y cenhedloedd, ac a'ch casglaf chwi o'r holl wledydd, ac a'ch dygaf i'ch tir eich hun."

***Y Mahometaniaid.***

Ym meddiant dilynwyr "y gau-brophwyd" y mae'r ddinas er's chwe canrif, a gwir alaethus yw canlyniadau y meddiant yma. Nid yn unig ni fynnant gyfnewidiadau a gwelliantau, ond mynnant adael i bobpeth ymddadfeilio a dirywio. Rhifa Mahometaniaid presennol y ddinas o saith i wyth mil, ac o'r rheiny nid oes ond ryw dri chant yn Dyrciaid. Mae yno 700 o filwyr, a gofynir i bob milwr yn y wlad fod yn Fahometan mewn llawn cydymdeimlad â'r Gallu Tyrciaidd ac â'r Grefydd Fahometanaidd.

Nid yw'r Mahometaniaid ar ol i'r Iuddewon a'r Cristionogion mewn edrych ar Jerusalem fel dinas grefyddol a sanctaidd. Felly yr adnabyddant hi. Dywedir fod llawer o breswylwyr Mahometanaidd y ddinas a'r cylch, y rhai nad adwaenent y lle wrth yr enw Jerusalem. Eu henw cynhefin hwy ar y ddinas yw *El Kuds*, hynny yw, *Y Sanctaidd.* Mae hên awdwr Mahometanaidd[1] yn cyfeirio atti dan yr enwau—El Kuds, *Bait-el-Makdis*, neu *Bait-el-Mukaddas*, hynny yw, *y ty sanctaidd; el-Balat*, hynny yw, *y brenhinllys;* ac *Iliya*, sef ffurf ar yr enw Aelia roddwyd i'r ddinas gan Hadrian.

Nid annaturiol yw i ymwelydd—wrth sylwi ar arferion y bobl —dderbyn argraff, gyffelyb i'r un dderbyniodd Paul yn Athens, eu bod yn bobl dra chrefyddol. Yn un peth chwannog iawn ydynt, ar wahanol amgylchiadau, i ddatgan eu teimladau mewn math o fawl a gweddi. Er engraifft, wrth agor ei fasnachdy yn y boreu, dywed y masnachydd—

O! Awdwr y dydd! O!'r Un grasol!
O! Gyfrannydd eiddo! O!'r Un hael!

Yr un modd wrth sylwi arnynt, gyda'r fath ofal a ffyddlondeb, o ganol pob-peth yn atteb i alwad y Mueddin i droi i weddïo. Gwnant hynny pa le bynnag y byddont—yn y tŷ, yn y masnachdy, ar yr heol, yn y maes. Gwnant hynny gan nad pwy fydd yn eu cwmni, na beth fydd y gwaith mewn llaw. Ar unwaith ymolchant a disgynant ar y Carped Tyrciaidd—os bydd un gerllaw—yr hwn sy'n garped cyssegredig, o bwrpas at weddïo arno. Ni feiddiem ddyweyd nad ydynt yn gwneud hyn gyda phob cywirdeb, ac wrth edrych arnynt meddiennid ni gan awydd i fod yn llawer mwy teyrngarol i'n Duw a'n Ceidwad nag ydym.

Mae prif wyliau y grefydd yn cael eu cadw ganddynt, sef y *Ramadam* a'r *Beiram.*

Mae gan Fahometaniaid Jerusalem eu pererindod blynyddol. Pererindod yw hwnnw nid at Fedd Mahomed ym Mecca, ond at Fedd Moses gerllaw'r Mor Marw. Tuag adeg y Pasc y cymmer y Pererindod hwn le. Wedi i dorf fawr ymgasglu i'r Haram, ymffurfir yn orymdaith—a honno gyda'i seindorf a'i baneri yn orymdaith eithaf rhwysg-fawr. Ant 20 milldir o Jerusalem i

[1] Mukaddasi, h.y., un o drigolion y lle sanctaidd.

gymmydogaeth y *Bahr Lut*, neu Mor Lot, a threuliant wythnos yn ymprydio ac yn addoli wrth fedd ag y maent hwy, meddant, wedi ei ddarganfod, er fod Duw wedi ei guddio fel y dywedir—"ac nid edwyn neb ei fedd ef hyd y dydd hwn."

Mae llu o draddodiadau chwedleuol wedi ymgasglu o gwmpas Bedd Moses. Mae rhai o honynt yn bod oblegid y cyfeiriad yn Epistol Judas[1]—"Eithr Michael yr Arch-angel, pan oedd efe, wrth ymddadleu â diafol, yn ymresymu ynghylch corph Moses," ac eraill drachefn i'w golygu fel sail i'r cyfeiriad gan Judas. Yn ol Origen (de Prin. iii. 2), rhoddid hanes y ddadl rhwng Michael a'r diafol mewn llyfr Apocryphaidd o'r enw "Dyrchafiad Moses," yr hwn lyfr sydd wedi ei golli. Adroddir gan Ecumenius, yn y 10ed ganrif, am draddodiad fod y diafol yn ceisio rhwystro Michael i gladdu Moses, gan ddyweyd fod y gwr hwnnw wedi fforffetio ei hawl i fedd trwy ei weithred yn lladd yr Aiphtiwr (Exod. ii. 12). Yn y Targum dysgir fod claddu Moses a gofalu am ei fedd yn bethau ymddiriedwyd i'r Arch-angel Michael. Yn y Midrash dysgir fod tri o'r angelion pennaf wedi cael rhan yn y gwaith o symmud enaid a chladdu corph Moses—sef Gabriel, Michael a Sammael.

Arferiad pwysig o eiddo y gwragedd Mahometanaidd ydyw ymweled â'r Claddfeydd i gymdeithasu â'r rhai ymadawedig. Am y rhai hynny, credant eu bod yn agos attynt, yn cymmeryd dyddordeb yn eu helynt, ac yn hoffi eu clywed yn adrodd hanes yr hên fyd wrthynt.

Claddfa bwysig yn eu golwg yw yr un sydd gyda mûr yr Haram, yr hon a welir yn un o'r darluniau (gyferbyn a tud. 100). Credant y caiff y rhai sy'n gorwedd yn hon ffafr neullduol ddydd a ddaw, oblegid hwy fydd y rhai cyntaf i gael eu codi a'u barnu.

Mae dull y Mahometaniaid o gladdu yn debyg i eiddo'r Iuddewon. Cleddir yn fuan wedi'r farwolaeth. Anaml y defnyddir arch, weithiau defnyddir un hyd at y bedd. Gofelir am logi galarwyr—pobl ddeillion, oedranus a thruanaidd yr olwg arnynt, y rhai allant wneud digon o sŵn cwynfanus—yw y rhai ddewisir at y pwrpas. Arfera'r rhai ddigwyddant gyfarfod â'r orymdaith ymuno â hi am ychydig gamrau, o barch i'r ymadaw-

[1] Judas 9.

edig, pwy bynnag fydd. Fel ym mynwentydd Pabaidd y Cyfandir, gadewir am rai dyddiau wedi'r claddu oleuni wrth y bedd.

O bosibl y gellir dyweyd mai colli eu gafael yn raddol yn y wlad a'i thrigolion y mae y Mahometaniaid a'r Tyrciaid, a hynny ymysg pethau eraill oblegid (1) difaterwch o barth i fuddianau uchaf y wlad; (2) esgeulusdra ynglŷn â thraddodiadau goreu y genedl, oblegid nid ydynt yn byw y Koran fel y byddai y tadau.

Feallai y gellir dyweyd eu bod yn llai erlidgar tuag at Gristionogion nag y maent wedi bod. Maent hefyd yn dysgu gwerthfawrogi y sefydliadau addysgawl a dyngarol y mae'r Cristionogion wedi eu dwyn i'w plith.

Ceir fod y Cenhadaethau Cristionogol wedi llwyddo llawer mwy gyda hwy na chyda'r Iuddewon, ac i'r sefydliadau a nodwyd y mae'r llwyddiant hwnnw yn bennaf i'w briodoli. Dywedir y gellid, yn y flwyddyn 1830, rhoddi holl Gristionogion Ymherodraeth y Twrc mewn un cwch bach neu un cerbyd. Nid oes amser maith er Rhyfel y Crimea, pryd y diddymmwyd yr arferiad o roddi i farwolaeth y neb a adawai Fahometaniaeth ac a gofleidiai Gristionogaeth. Ond erbyn heddyw, y mae y Cristionogion sydd i'w cael yn yr Ymherodraeth bwdr honno yn ganoedd o filoedd.

Mae'r rhagolygon fel hyn yn llawn gobaith; ac etto nis gellir anghofio y ffaith fod erledigaethau ac anfadwaith brwnt, dro ar ol tro, wedi eu dwyn ymlaen ar Gristionogion y ddinas a'r wlad. Yn wir, ychydig wythnosau yn ol bu Cristionogion Beyrout a'r cylch mewn enbydrwydd mawr, a gallwn fod yn sicr pe gallai y Tyrciaid Mahometanaidd wneud ym Mhalestina yr hyn a wnant yn Armenia, na byddent yn fyr o'i wneud.

### *Y Cristionogion.*

Tua'r chweched ran o boblogaeth bresennol y ddinas sydd yn Gristionogion. Oddigerth am yspaid, ar ol y flwyddyn 66 O.C., pan ymfudodd Cristionogion y ddinas i Pella, y mae'r lle wedi bod o hyd yn at-dynfa ac yn gartref iddynt hwy. Am amryw ganrifoedd buont yn allu llywodraethol ac yn brif ddylanwad yno; ond er's amser maith bellach cael eu goddef yno y maent, fel hefyd yr Iuddewon. Nid ydynt yn rhifo y bedwaredd ran o

Iuddewon y ddinas, ond y maent yn dri am bob dau o'r Mahometaniaid.

Feallai nad oes yr un amcan-gyfrif gwell o amrywiol grefydd-wyr y lle nag eiddo Dr. Socin, ac felly ni a'i rhoddwn:—

| | |
|---|---|
| Eglwys Groeg | 6000 |
| „ Rhufain | 4000 |
| Armeniaid | 800 |
| Groegiaid Unedig | 200 |
| Armeniaid „ | 50 |
| Coptiaid | 100 |
| Ethiopiaid | 100 |
| Syriaid | 100 |
| Protestaniaid | 1400 |

Arferir dysgu fod erledigaethau wedi bod yn fendith i Gristionogion a Christionogaeth, ond nis gellir gweled hynny yn Jerusalem. Prin y gellir nodi cylch lle y mae mwy o erlid wedi bod ar Gristionogion, na chylch ychwaith lle y mae Cristionogaeth yn cael ei dangos i waelach mantais nag yn y ddinas sanctaidd. Mae'r rhanniadau sydd yno ymhlith Cristionogion yn bethau difrifol iawn, nid ar gyfrif y rhanniadau ynddynt eu hunain, ond ar gyfrif pethau eraill, megis ymarferiadau gwrthun-ddefodol y gwahanol bleidiau o Gristionogion, a'u hymddygiadau gelyniaethus tuag at eu gilydd. Mae yno bleidiau o Gristionogion nad ydynt i'w cael ond yn y Dwyrain.

Gwelir fod y Groegiaid yn lluosocach na'r Pabyddion a'r Protestaniaid ynghyd, ac yn Jerusalem y maent yn hynod gyfoethog. Defodwyr ydynt fel y Pabyddion, ond fod eu defodaeth yn llai urddasol a llai swynol. Mae ganddynt eu hesgobion a'u patriarchiaid, ond nid eu pab. Gwahaniaethant oddiwrth y Pabyddion yn yr adeg i gynnal y Pasc, a'u hadeg hwy i'w gynnal yw adeg y lluaws ym Mhalestina.

Mae gan Jerusalem ei dull ei hun o gadw Pasc—ni chedwir mo hono gyda'r fath rialtwch llafur-fawr mewn un man arall drwy'r byd. Adeg yw yr arfera'r ddinas fod yn orlawn o bobl, fel yr arferai fod pan oedd Iuddewiaeth mewn bri. Mae'r cannoedd pebyll godir o gwmpas y ddinas yn awr yn ad-goffhau am yr hên amser. Gyda bod y bobl fyddant yno yn lluosog, ceir eu

bod yn amrywiol hefyd. Enwir y bobl amrywiol oedd yn bresennol adeg y Pentecost gynt—yr oeddynt yn "Barthiaid, a Mediaid, ac Elamitiaid, a thrigolion Mesopotamia, a Judea a Chappadocia, Pontus ac Asia, Phrygia, a Phamphylia, yr Aipht a pharthau Libya, a dieithriaid o Rufeinwyr, Iuddewon a phroselytiaid, Cretiaid ac Arabiaid." Y tebyg, modd bynnag, yw nad oeddynt yn fwy amrywiol na'r rhai arferant fod yno adeg Pasc yn awr. Nid yn unig amrywiant o ran cenedl ac iaith, ond lawn cymmaint o ran safle ac amgylchiadau. Bydd rhai o ddysgedigion pennaf y byd yno, a rhai o gyfoethogion pennaf y byd. Bydd yno hefyd dorf anferth o ymwelwyr o Rwsia, yr Almaen, yr America, a gwledydd eraill, a llawer o'r rheiny mor anwybodus ac mor dlodaidd a dim pobl yn y byd.

Yn y rhagolwg ar Sul y Blodau (paham na elwir *Palm Sunday* yn Sul y Palmwydd?) bydd masnach bwysig yn y ddinas mewn gwerthu a phrynu cangau o'r palmwydd i addurno tai a phersonau â hwy. Sul o lawenydd yw Sul y Blodau, ac ymgyssylltа y llawenydd hwnnw â gwaith yr Iesu yn marchogaeth i'r ddinas, yn ol yr hanes Efengylaidd—"A hwy a ddygasant yr asen a'r ebol, ac a ddodasant eu dillad arnynt, ac a'i gosodasant ef i eistedd ar hynny. A thyrfa ddirfawr a daenasant eu dillad ar y ffordd: eraill a dorrasant gangau o'r gwŷdd, ac a'u taenasant ar hyd y ffordd. A'r torfeydd, y rhai oedd yn myned o'r blaen, a'r rhai oedd yn dyfod ar ol, a lefasant, gan ddywedyd, Hosanna i fab Dafydd: Bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd: Hosanna yn y goruchafion. Ac wedi ei ddyfod i mewn i Jerusalem, y ddinas oll a gynhyrfodd, gan ddywedyd, Pwy yw hwn? A'r torfeydd a ddywedasant, Hwn yw Iesu, y prophwyd o Nazareth yn Galilea."

Yn amser y Crwysgadwyr arferid, ar y dydd hwn, ddarlunio yn weithredol waith yr Iesu yn marchogaeth i'r ddinas. Byddai ganddynt offeiriad yn cynrychioli'r Iesu, a dodid hwnnw i farchogaeth asen, ac arweinid ef gan dorf anferth yn dwyn palmwydd ac yn llawen-floeddio, "Hosanna i Fab Dafydd." Teithiai'r orymdaith o Bethphage ar yr Olewydd, ac elai i mewn, yn orfoleddus, trwy y Porth Euraidd i'r ddinas. Mae'r porth hwn er's llawer dydd yn gauedig, ac yn cael ei wylio, am y credir mai trwyddo ef y mae rhyw Dywysog Cristionogol i dd'od o'r diwedd a meddiannu'r ddinas.

Treulir rhai oriau o Sul y Blodau yn Eglwys y Bedd. Gorymdeithir dair gwaith o amgylch Ogof y Bedd, a bydd hon yn seremoni hirfaith, yn cynnwys canu helaeth, arogl-darthu helaeth, a newid gwisgoedd yn fynych, fynych.

Y boreu Iau dilynol i Sul y Blodau bydd gan y Groegiaid seremoni arall. Yn yr awyr agored y tu-allan i Eglwys y Bedd yr änt trwy hon, a da hynny pan ystyrir y dorf anferth fydd yn dystion o honi. Bydd cyntedd eang yr Eglwys yn orlawn, a bydd llaweroedd ar nenau tai, ac ar bob man y gallant weled y seremoni. Diben y seremoni yma yw portreiadu y weithred o olchi traed y disgyblion yn yr Oruwch-ystafell. Os oes esgus am dani yn bosibl, stad anwybodus a chwbl anllythyrennog y miloedd pobl fyddant wedi d'od yno yw yr esgus hwnnw. Ond gresyn, gyda hynny, na buasai gwell ymgais at bortreiadu. Hyd y deallwn, y mae y "Passion Play," a roddir bob deng mlynedd yn Ober-Ammergau, yn yr Almaen, yn amcan têg at ddarlunio "Y Gwr gofidus cynhefin â dolur," yn ystod "wythnos ei ddyoddefaint" yn y byd yma. Ond nid felly, yn sicr, y mae gwahanol seremoniau Cristionogion Jerusalem.

Yn nghanol y dorf bydd esgynlawr godidog, ac i hwnnw daw gorymdaith yn cynnwys Patriarch Groegaidd y ddinas gyda 12 o offeiriaid yn cynrychioli y 12 disgybl. Byddant oll wedi eu gwisgo yn ogoneddus, ac yn arbennig felly y Patriarch. Bydd ganddo ddillad o'r gwneuthuriad mwyaf costfawr, yn orchuddiedig gan berlau, y rhai ddisgleiriant yn ardderchog dan dywyniadau llachar haul dwyreiniol. Bydd yno gôr—côr goreu'r lle—yn canu. Darllenir y rhan gyntaf o Ioan xiii. Dygir cawg arian ysblenydd, yn llawn o ddwfr rhôs *(rose water)*, a gosodir hi o flaen y Patriarch. Daw offeiriad ar ol offeiriad ymlaen i barottoi y Patriarch at gyflawniad y weithred—y naill offeiriad yn symmud ei goron euraidd oddiar ei ben, y llall yn torchi ei lewys sidanaidd. Wedi hynny golcha yntau draed pob un o'r deuddeg â'r dwfr peraroglaidd. Yn ystod y seremoni bydd y milwyr Tyrciaidd mewn ymdrech fawr yn cadw'r torfeydd yn ol, am yr amcenir cael cadach, neu ryw ddernyn o wisg, wedi ei drochi yn y cawg o ddwfr rhôs, a phwy bynnag a lwydda i gael hynny bydd ei holl berson wedi ei fendithio gan y dwfr, a bydd ei gadach yn un y gall gael pris enfawr am dano.

Ymhen ysbaid ar ol hyn daw *act* arall. Heb symmud o'r lle disgwylir i'r dorf symmud eu meddyliau yn awr o'r Oruwch-ystafell

i Gethsemane Ardd. El y Patriarch, yn cynrychioli'r Iesu, a thri o'r offeiriaid, yn cynrychioli Petr, Iago, a Ioan, oddiar yr esgynlawr i gongl fydd yn cynrychioli'r Ardd. Yno byddant ar lawr—y Patriarch yn gweddïo, a'r tri offeiriad yn gysglyd gerllaw. Yn y modd yna y ceisia y bobl hyn, gyda'u gwisgoedd gwychion, ynghanol y dorf drystfawr, ganol-dydd goleu, bortreiadu yr Iesu a'i dri disgybl, y nos y bradychwyd Ef, yn yr unigrwydd, yn myned trwy "ing yr ardd. Ond O! mor ddiffygiol.

Wedi myned yn ol i'r esgynlawr, ac i'r Patriarch a'r offeiriaid ail wisgo am danynt eu gwisgoedd gogoneddus, a rhoddi cyfle i ddarlunydd, neu ragor, dynnu darlun o honynt—dyna seremoniau y Groegiaid am ddydd Iau trosodd.

Yn ddilynol bydd gan yr Eglwysi eraill—y Lladiniaid a'r Armeniaid—seremoni o olchi traed, ond bydd yr eiddynt hwy yn llawer symlach, ac eir trwyddynt o fewn yr Eglwys.

Dydd Gwener y Groglith daw tro y Lladiniaid Franciscaidd i fyned trwy y seremoni o bortreiadu y Croeshoeliad; oblegyd yn eu meddiant hwy y mae "Capel yr hoelio ar y Groes" a "Chapel y disgyn oddiar y Groes." At y pwrpas bydd ganddynt gerflun (hanner maintioli gwr) o'r Iesu. Yn ystod y seremoni gosodir hwn ar y Groes, tynnir ef i lawr oddi arni, gwisgir ef yn ngwisgoedd y bedd, a gosodir ef yn Ogof y Bedd, lle y gadewir ef hyd y dydd Sul dilynol. Ar adegau neillduol yn ystod y seremoni traddodir gan dri offeiriad dair pregeth—un yn yr Almaenaeg, arall yn y Ffrancaeg, a'r drydedd yn yr Arabaeg. Fel y gellid barnu mae hon yn seremoni lafurfawr, ac yn parhau am oriau meithion.

Ar ol hon daw tro y Groegiaid drachefn i fyned trwy y seremoni fwyaf pwysig, fwyaf cyffrous a mwyaf annheilwng o'r oll, sef y seremoni o dynnu y tân gwyrthiol o Ogof y Bedd, yr hon a ddarluniwyd eisoes pan yn traethu am yr Eglwys honno. Wedi "cael eu" bedyddio â'r tân hwnnw brysia y pererinion i'w cartrefi, ar ol gwneud taith fawr eu hoes, ar yr hon y dibyna eu tragwyddoldeb.

Sylwyd eisoes ar yr addoldai, a'r sefydliadau eraill berthynant i'r amrywiol Gristionogion. Ni roddwyd rhestr gyflawn o honynt, ac fe ychwanegir yn barhaus at eu nifer. Ychwanegir hefyd at nifer yr offeiriaid sydd yno, maent yn un am bob dwsin o'r Cristionogion. Megys y cafwyd nad oes prinder mewn cyfrannu i

Haluka yr Iuddewon, nid oes prinder ychwaith mewn cyfrannu tuag at gynnal Gristionogion Jerusalem. Mae cannoedd o Gristionogion y ddinas yn dibynu am gadwraeth ar roddion pobl ddieithr. Cyfranna Eglwys Groeg ac Eglwys Rhufain elusennau bob wythnos, a thrwy hyn y mae'r trigolion yn cael eu tlodusu, nes eu gwneud yn gardottwyr crefyddol. Ar y diwrnod y bydd y Groegiaid yn cyfrannu bydd y bobl yn Roegiaid, ond ar y diwrnod y bydd y Lladiniaid yn cyfrannu bydd yr un pobl yn Lladiniaid.

Naturiol yw meddwl am yr Ymdrechion Cenhadol wneir yn Jerusalem. Prin y gellir galw prif Eglwys Gristionogol y lle, sef yr un Roegaidd, yn Eglwys Genhadol. Mae prif ofal yr Eglwys honno am ei lleoedd sanctaidd, ac erbyn hyn y mae'r etifeddiaeth sydd ganddi o leoedd sanctaidd yn un bwysig iawn. Yn ychwanegol at yr Eglwys Roegaidd y mae yno Gymdeithas Rwsiaidd (The Russian Mission), yr hon o dan arweiniad yr Archfynach (Archimandrite) sy'n gweithio yn fwy er Rws-eiddio y wlad nag er ei Christ-eiddio. Mae y *Russian Mission*, y *Russian Palestine Society*, mewn undeb â'r Eglwys Roegaidd, yn amcanu at ennill y Wlad i Rwsia. Prynant bob dernyn o dir allant ei gael, yn y gobaith ryw ddydd o gael yr oll.

Mae gan y Lladiniaid hefyd eiddo mawr, ac yn ychwanegol at hynny, gyflawnder o gyfoeth i ychwanegu at yr eiddo yna, fel y maent wedi bod yn gwneud ar raddfa helaeth yn ddiweddar. Mwy na hynny, maent ar y ffordd i feddu cyfoeth llawer gwell a phwysicach na thir ac adeiladau. Maent yn brysur ennill plant y ddinas.

Yn ddiweddar mae'r Almaeniaid wedi bod yn symmud ymlaen gyda'u sefydliadau crefyddol yn y ddinas. Yr Eglwys ododog arall adeiladwyd yn ddiweddar—heblaw yr Eglwys Rwsiaidd gerllaw Gethsemane—yw yr Eglwys Almaenaidd ar Sïon, yn perthyn i'r Lutheriaid, ac wedi ei chodi ar ddarn o dir ddaethai unwaith i feddiant Siarl-Fawr (Charlemagne), ac a gyflwynwyd yn rhodd i'r Almaen yn 1869. Yn ychwanegol at honyna mae'r Ellmyn Pabyddol yn adeiladu Eglwys arall ar Sïon.

Gan ein gwlad ni y mae'r Genhadaeth Brotestanaidd oreu sydd yno. Nid wyf yn gwybod fod gan Ymneillduwyr ein gwlad ran yn y gwaith. Mae sefydliadau addysgawl a gwaith Cenhadol gwerthfawr yn cael ei wneud ynglŷn âg Eglwys St. Paul, yr hon sydd yn Ngogledd y ddinas, ac yn perthyn i'r *Church Missionary*

*Society*, ac hefyd ynglŷn âg Eglwys Crist, yr hon sydd ar Sïon, ac yn perthyn i'r *Mission to the Jews*. Ymddengys nad yw y Cenhadaethau Prydeinig yn fyr o gyllid at y gwaith a wneir yn Jerusalem. Dywedir mai Protestaniaid America oedd y rhai cyntaf i wneud gwaith cenhadol yn Jerusalem. Ychydig yw'r gwaith wneir gan Americanwyr yn awr, ac etto y mae sôn eu bod am ffurfio *syndicate* i brynu yr holl wlad, a'i gwneud yn wlad Gristionogol.

Arweinia hyn ni i son am y nifer helaeth o gynlluniau anturiaethus sydd wedi bod i Grist-eiddio y wlad. Dywed un ysgrifenydd nad yw Jerusalem byth i'w chael heb lawer cranc crefyddol o'i mhewn. Wrth y rhai hynny y golygir pobl yn disgwyl i ddigwyddiadau mawr a hynod ynglŷn â Christionogaeth gymmeryd lle yn Jerusalem ar fyrder.

Nid yn Jerusalem yn unig ychwaith y mae y rhai hyn i'w cyfarfod. Yr wyf wedi cyfarfod â mwy nag un o honynt yn Nghymru. Cynnygiodd un o honynt ychwanegu Pennod at y llyfr hwn, yn nodi pob manylion ynglŷn â chyflawniad y prophwydoliaethau yn Llyfr y Datguddiad, yr hyn sydd i gymmeryd lle yn fuan yn Jerusalem.

Adroddir am un yn cyrhaedd Jerusalem yn y flwyddyn 1894, fel Cenhadwr at yr Iuddewon. Dywedir fod ei genhadaeth i estyn dros 30 niwrnod. 'Roedd ganddo ei gynlluniau yn barod i'w rhoddi mewn gweithrediad. Yn gyntaf oll bwriadai roddi hysbysrwydd am y genhadaeth trwy gyfrwng y newyddiaduron; ond erbyn edrych, nid oedd y fath beth a newyddiadur yn y ddinas. Yna bwriadai godi pabell fawr: ond er chwilio nid oedd peth felly ar gael. Yn y babell yna bwriadai bregethu am fis, ac etto nid oedd yn medru yr *Yiddish* (cymmysgiaeth o eiddo'r Iuddewon cyffredin), na'r un o ieithoedd y bobl. Yn y diwedd cafodd dafleni wedi eu hargraffu yn Hebraeg; gwasgarodd y rhai hynny, a daeth ei 30 niwrnod i ben heb ddim llwyddiant ar ei genhadaeth, ac aeth yntau adref yn siomedig.

Mae llawer yn y ddinas, tebyg i'r un gynnygiodd ei wasanaeth i mi, yn disgwyl am ail-ddyfodiad Crist. Mae i ymddangos ar yr Olewydd, ac i wneud ei *head-quarters* yn Jerusalem. Proffesa rhai o honynt wybod yr adeg y mae i ymddangos, yn fanwl. O fysg y rhai hyn yr oedd boneddiges, yr hon am ddyddiau a aethai i'r Olewydd, gan barottoi tê ar y mynydd, gyda'r amcan o'i roesawu trwy roddi iddo gwpanaid o dê.

Adrodda y Llysgenhadwr Wallace am ddyn y daeth ef i gyssylltiad âg ef, yr hwn oedd wedi d'od i Jerusalem i bregethu dyfodiad y Mil-blynyddoedd, pryd na byddai i neb farw mwy. Yr oedd Efengyl y Mil-blynyddoedd—yr Efengyl nad oedd dim marw i fod mwy—yn debyg o fod yn un boblogaidd. Ond meddai Wallace wrth y dyn—"Y mae'r bobl yn marw yn awr, y mae amryw wedi marw heddyw." "Gwir," meddai yntau, "ond nid wyf etto wedi cyhoeddi fy Efengyl. Ar ol i mi wneud hynny, ni bydd i neb farw." "Ond beth ar ol i chwi ei chyhoeddi, os bydd i chwi eich hunan farw," meddai Wallace, ac i hyn attebodd yntau—"Wel, os felly fydd, marw hefyd fydd fy Efengyl." Ac felly y bu.

Adrodda Wallace hefyd am gwmni o 14, y rhai a ddaethant i'r ddinas gan dystio nad oedd yr un o honynt yn myned i farw cyn "dyfodiad yr Arglwydd," a'u bod yn myned i fyw gydag Ef yn Jerusalem; ond gwelodd pob un o'r rheiny wiriad ei eiriau Ef ei hun—"ond am y dydd hwnnw a'r awr nis gŵyr neb, nac angelion y nefoedd, ond fy Nhad yn unig" (Mat. xxiii. 36).

Cyfeiria y dosbarth yma o grefyddwyr at brophwydoliaethau yn Llyfr Datguddiad ynghylch "y Jerusalem Newydd," y rhai a ddehonglant yn y modd a nodwyd.

Sylwodd un ysgrifenydd, wrth feddwl am holl sefydliadau Cristionogol y ddinas, ei bod yn sicr wedi ei chenhadaethu yn ormodol (over-missioned). Rhaid hefyd dyweyd fod yno y fath gyflawnder o weithwyr ac o sefydliadau Cristionogol fel y gellid barnu fod ennill y ddinas mewn ychydig amser yn beth posibl. Y mae tri rhwystr, modd bynnag, ar y ffordd, ac anhawdd yw penderfynu pa un o honynt yw y pennaf—

(1) Difaterwch y Mahometaniaid.
(2) Gwrthwynebrwydd yr Iuddewon.
(3) Anghyssondeb y Cristionogion.

Nid yw Crefydd Crist yn cael ei harddangos yn deilwng gan y Cristionogion; ni fyn yr Iuddewon mo'i derbyn; ac nid oes eisieu yr un grefydd newydd ar y Mahometaniaid.

Os oes prophwydoliaeth am beth felly, dymunol fyddai gweled sylweddoliad buan o hono—Y ddinas ddarfu ladd y Messiah yn d'od i arwain yn y gwaith o'i anrhydeddu, y ddinas a'i cododd i'r Groes yn ei godi fwy na neb i'r Orsedd.

# ATTODIAD.

---

## TREM AR BRIF ADEILADWYR Y DDINAS.

Dafydd (tua 1040 C.C.). Bydd desgrifiad Josephus (Hyn. vii. 3) yn eglurhad ar 1 Chron. xi. 7, 8:—"Yn awr Dafydd a wnaeth adeiladau o amgylch y ddinas isaf, gan gyssylltu y Tŵr (sef Sïon, neu y ddinas uchaf) â hwy, a'u gwneuthur yn un corph; ac wedi amgylchu y cwbl â chaer, neu furiau, efe a bennododd Joab i olygu arnynt." Ceir fod Dafydd wedi derbyn oddiwrth Hiram, brenhin y Tyriaid,—"goed cedrwydd a chrefftwyr, sef dynion cywrain yn y gelfyddyd o adeiladu, fel y gwnelid tŷ brenhinol iddo yn Jerusalem."

Solomon (tua 1000 C.C.). Sylwyd ar ei waith yn adeiladu y Deml, "ac yr oedd y defnyddiau oedd ganddo at y pwrpas," medd Proffeswr Blaikie, "yn ol y cyfrif mwyaf cymmedrol yn werth £120,000,000." Hefyd, sylwyd ar yr adeiladau brenhinol mawreddog a gododd, yn ol fel y desgrifir hwy yn 1 Bren. vii. 1, 8; ix. 10; 2 Chron. viii. 1, 11; ac hefyd yn Jos. Hyn. viii. 5. Rhoddodd hefyd sylw i furiau'r ddinas—"Solomon a adeiladodd Milo, ac a gauodd adwyau (repaired the breach, C.D.) dinas Dafydd ei dad."

Uzziah (826 C.C.). Oddiwrth 2 Chron. xxvi. 9 a Jos. Hyn. ix. 10, ceir iddo ef adeiladu llawer ar y ddinas. "Adgyweiriodd y rhannau hynny o'r mûr a syrthiasant i lawr trwy feithder amser, neu trwy esgeulusdra y brenhinoedd blaenorol; adeiladodd amryw dyrau, a thorrodd ffosydd mawrion er cyfleusdra i gludo dyfroedd."

Jotham (750 C.C.). Fel ei dad, Uzziah, "gofalodd hwn dros lesiant y ddinas, canys pa gyrau bynnag oedd yn gofyn eu hadgyweirio a'u haddurno, efe a wnaeth hynny mewn modd harddwych." Oddiwrth 2 Chron. xxvii. 3, gwelir iddo ychwanegu at adeiladau'r Deml ac Ophel.

Hezeciah (713 C.C.). Rhydd 2 Chron. xxxii. ddesgrifiad o waith y brenhin yma yn y rhagolwg ar yr ymosodiad oddiwrth

Senacherib, "yn argau dyfroedd y ffynhonau, y rhai oedd allan o'r ddinas;" "yn cryfhaü ac yn adeiladu yr holl fûr drylliedig;" ac yn adeiladu "mûr arall oddi allan, ac yn cadarnhau Milo yn ninas Dafydd."

MANASSEH (680 C.C.). Yn 2 Chron. xxxiii. a Jos. Hyn. x. 3 cawn hanes hwn, wedi cyfnewid ei yrfa flaenorol, yn adeiladu ar raddfa helaeth. Cwblhaodd fûr Acre a'r adgyweiriad ar Milo, yr hyn waith a gychwynwyd gan Hezecïah.

ZOROBABEL (536—515 C.C.). Cawn ef yn adeiladu yr Ail Deml, yn ol yr hanes manwl yn Ezra iii. a vi., a Jos. Hyn. x. a xi.

NEHEMIAH (445 C.C.). Drulliad oedd ef i'r brenhin Xerxes. Derbyniodd ganiattad y brenhin i adeiladu muriau dinas yr Iuddewon. ("Dyna yr enw y gelwid hwy arno er y dydd y daethant i fyny o Babilon, yr hwn enw a gymmerwyd oddiwrth lwyth Judah.") Gwrthwynebid y gwaith o ail-adeiladu muriau Jerusalem "gan yr Ammoniaid, y Moabiaid, y Samariaid ynghyda phreswylwyr Coelo-Syria, y rhai a laddasant amryw o'r Iuddewon, ac a geisiasant ddinystrio Nehemiah ei hun. . . . . Ond ni allodd dim attal Nehemiah rhag bod yn ddiwyd ynghylch y gorchwyl; ni theimlodd ludded na blinder, oblegid ei awydd i berffeithio y gwaith. . . . . Meddyliai os darfyddai am dano ef, y byddai y caerau fyth heb eu cyfodi i'r dinasyddion. Efe a roddes orchymyn ar fod i'r adeiladwyr gadw eu cleddyfau a'u tarianau gerllaw pan yn adeiladu—fel yr ymladdent, os byddai raid, yn eu harfogaeth, ac nid yn noethion. Efe ei hun a elai o amgylch gan arolygu y gwaith, heb ddigaloni, ac heb ofal ynghylch ei gwsg na'i ymborth; a'r llafur yma a oddefodd efe am ddwy flynedd a phedwar mis. . . . Yn awr wedi eu gorphen, Nehemiah a'r lluaws pobl a offrymmasant aberthau i Dduw, oblegid eu hadeiladu hwynt, a hwy a barhasant i wledda wyth niwrnod. . . . . Pan welodd Nehemiah fod y ddinas yn anaml o bobl, efe a gynghorodd yr offeiriaid a'r Leflaid, a lluaws eraill i adael y wlad, a symmud i'r ddinas, a phreswylio ynddi . . . ac felly daeth dinas Jerusalem i fod yn amlach ei thrigolion nag o'r blaen. . . . . Bu i Nehemiah wneuthur llawer o bethau daionus eraill, a phethau yn haeddu canmoliaeth, mewn modd godidog, ac efe a adawodd furiau Jerusalem yn gofadail barhaus iddo ei hun" (Jos. Hyn. xi. 5). Mae amryw bennodau yn Llyfr Nehemiah yn werth eu hastudio oblegid y syniad roddant am y ddinas.

Rhwng yr adeg y llywodraethid y ddinas gan y Persiaid a'r adeg y daeth i feddiant y Rhufeiniaid bu ym meddiant gwahanol alluoedd, yn cael ei dinystrio a'i hadeiladu drachefn amryw weithiau, a dull Groegaidd o adeiladu yn cael ei ddefnyddio.

Bu adeiladu, ar raddfa helaeth, yn ystod y ganrif o *feddiant Maccabeaidd neu Asmoneaidd* (165—63 C.C.). Yn 165 C.C. adgyweiriwyd a glanhäwyd y Deml gan *Judas y Maccabead.* Yn flaenorol i hynny yr oedd Antiochus Epiphanes ar ol cymmeryd y ddinas wedi halogi y Deml—"efe a offrymmodd foch ar yr allor, ac a daenellodd y Deml âg isgell eu cig hwynt er mwyn ammharchu yr Iuddewon a'r grefydd dderbyniasant gan eu tadau." Gwahanol iawn i hyn fu ymddygiad ei olynydd, "Antiochus Dduwiol," yr hwn, pan yn ymladd gyda Hyrcanus, nid yn unig a ganiattaodd orphwysiad arfau yn ystod wythnos Gwyl y Pebyll, ond a anfonodd i'r Iuddewon yn y ddinas roddion o deirw ac ychain, a phob math o bêr-lysiau at wasanaeth yr wyl.

Tua 150 C.C. adeiladodd *Jonathan y Maccabead,* fel y gwelir oddiwrth 1 Mac. x. a xii., a Jos. Hyn. xiii., yn helaeth yn y ddinas, a dilynwyd hynny gydag amryw gyfnewidiadau gan *Simon y Maccabead.* Mae'n deilwng o sylw fod y Maccabeaid neu'r Asmoneaid—y rhai oeddynt yn offeiriaid yn ogystal a thywysogion, wedi llwyddo, ynghanol eu holl helyntion rhyfel, i godi dau adeilad arhosol yn y ddinas, sef, (1) Y Palas mawr brenhinol o'r eiddynt ar Sïon, yr hwn oedd yno yn amser yr Iesu. (2) Y tŵr cadarn ar du gogleddol y Deml, yr hwn a eangwyd ar ol hynny gan Herod.

Herod Fawr. Yr oedd ef yn fawr fel adeiladydd. (1) Ychwanegodd yn helaeth at y tŵr Asmoneaidd, yr hwn a elwid Baris, ond a alwyd ganddo ef yn Antonia o anrhydedd i'r Ymherawdwr. Defnyddid y tŵr hwn gan yr Asmoneaid, ac ar ol hynny, yn un peth i gadw y gwisgoedd offeiriadol. Oddiwrth ddesgrifiad Josephus (Rhyf. v. 4) o hono ceir ei fod "wedi ei adeiladu ar graig, yn ddeg cufydd a deugain o uchder, ac ar fin dibyn. . . . . O ran helaethrwydd ei ystafelloedd a'i gyfleusderau yr oedd megys dinas, ar gyfrif ei harddwch ymddanghosai fel palas. . . . . Yr oedd pedwar tŵr ar ei bedair congl, a'r un ar y gongl ddehau yn ddeg a thriugain o gyfuddau mewn uchder, ac o hwn gellid cael golwg ar yr holl Deml. . . . . O'r tŵr yr oedd tramwyfeydd i ystafelloedd y Deml, a thrwyddynt elai y gwarchodlu Rhufeinig

(ac adeg y gwyliau yr oedd lleng o honynt yno) i'r Deml i wylied rhag terfysg. Yr oedd Tŵr Antonia yn ddiogelwch i'r Deml, a'r Deml yn amddiffynfa er dyogelu y ddinas." (2) Fel y desgrifiwyd eisoes, ychwanegodd at faintioli maes y Deml, adeiladodd Deml newydd fawreddog, a gwnaeth y rhodfeydd (cloisters) o'i chwmpas. (3) Adeiladodd Balas brenhinol ar Sïon, a gwasanaethai "Palas Herod fel amddiffynfa yn perthyn i'r ddinas uchaf."

Yn gyssylltiedig â'r Palas yr oedd tri tŵr, "y rhai o ran eu maintioli, eu harddwch, a'u cadernid, oeddynt tu hwnt i ddim oedd o fewn y ddinas gyfanneddol." Yr oeddynt wedi eu cyssegru i goffadwriaeth y tri pherson a fuasent anwylaf ganddo: "sef ei frawd, ei gyfaill, a'i wraig. . . . . Yr oedd *Phasaelus* ddeugain cufydd o led, a'r un faint o hyd, ac yn ddeg-a-phedwar-ugain cufydd o uchder. . . . . Yr oedd *Hippicus*, hefyd, yn ysgwar, ei hyd a'i led yn bump-ar-hugain o gufyddau, a'i uchder yn ddeg-ar-hugain, ac nid oedd dim gwagder o'i fewn. . . . . Yr oedd *Mariamne* yn fwy addurniadol na'r ddau arall, ond nid mor gadarn. Ei holl uchder oedd bymtheg-a-deugain o gufyddau. Yr oedd y tyrau yn ymddangos mor uchel, oblegid codasid hwy ar yr hên fûr (eiddo Hezeciah wedi ei adnewyddu gan Nehemiah) a hwnnw wedi ei godi ar fan uchaf y tir, . . . . hwy a godasid o feini mynor gwynion wedi eu torri allan o'r graig, a phob un o honynt yn 20 cufydd o hyd, 10 o led, a 5 o drwch."

"Yr oedd y pedwerydd adeilad, sef y Palas, o'r fath gywreinwaith fel nad oedd un traul na dyfais wedi ei arbed. Rhifedi yr ystafelloedd oedd fawr iawn, . . . . yr oeddynt yn gyflawn o ddodrefn, a'r rhan fwyaf o honynt o arian ac aur. Yr oedd yno amryw rodfeydd, . . . llwyni o goed, . . . dwfr-gronfa ddofn. Byddai rhoddi cyflawn ddesgrifiad o'r palas yn ammhosibl." Rhyf. v. 4.

AGRIPPA (43 O.C.). Ymgymmerodd ef a chodi trydydd mûr y ddinas. "Aethai y ddinas y tu hwnt i'w hên derfynau tua'r gogledd, a daeth y pedwerydd mynydd, (yr hwn a elwid Bezetha, yn yr iaith Roeg golyga y Ddinas newydd), i gael ei breswylio. . . . Er amddiffyn preswylwyr Bezetha dechreuodd Agrippa godi y mûr, . . . gadawodd ef oblegid ofn cynhyrfu Claudius Cesar wrth adeiladu mûr a'i gwnaethai yn ammhosibl i neb gymmeryd y ddinas. Defnyddid meini 20 cufydd o hyd, a 10 o led. . . . . Ar ol peth oediad adeiladwyd ef ymlaen trwy ddiwydrwydd mawr gan yr

Iuddewon, nes yr oedd yn 20 cufydd o uchder, . . . . gyda canllawiau a thyrau yn bum' cufydd yn ychwanegol. Yr oedd 90 o dyrau ar y mûr hwn, a'r rheiny yn 20 cufydd yn ysgwar, ac ystafelloedd, a chronfeydd dwfr ar ben y rhai hynny. Yr oedd y mûr yn rhyfeddol yn yr oll a berthynai iddo." Rhyf. v. 4. Dyma'r mur ddinystriwyd gan Titus.

HADRIAN (135 O.C.). "Wedi i Jerusalem gael ei dinystrio y mae Hadrian yn sefydlu trefedigaeth (colony) yn y lle, ac yn ei galw yn *Aelia Capitolina*, ac ar y fan pennodol lle safai Teml Dduw cododd deml i Iau (Jupiter)." Dion Cassius, 69.

"Wedi i ddinas yr Iuddewon gael ei dwyn i'r fath stad fel yr oedd yr oll o'r hên drigolion wedi eu hymlid o honi, a dieithriaid wedi cymmeryd eu lle, y mae'r ddinas Rufeinig gododd ar ei hol yn derbyn enw newydd, ac yn cael ei galw yn Aelia o anrhydedd i'r Ymherawdwr Aelius Hadrian" (Eusebius Eccles. Hist. iv. 6).

"Mae'r Ymherawdwr Hadrian, yr hwn a elwid Aelius, yn galw'r ddinas ar ei ol ei hun yn Aelia, er mwyn ymlid ymaith a chau allan y genedl Iuddewig yn llwyr o honi" (Philostorgius).

CYSTENYN (335 (O.C.). Adeiladodd ef yn y ddinas Basilica fawr, sef Eglwys yr Adgyfodiad, fel y tystir gan Eusebius a'r haneswyr boreuol eraill. Ceisia Dr. Russell Forbes wneud allan fod desgrifiad Eusebius yn dangos mai nid ar Sïon, Moriah, nac Acre y codwyd hi, ond ar Bezetha, sef safle y Jerusalem newydd. Y farn gyffredin, modd bynnag, yw fod Eglwys y Bedd Sanctaidd yn cynrychioli Basilica Cystenyn.

JULIAN (363 O.C.). Rhydd Ammianus Marcellianus, swyddog a chyfaill i'r Ymherawdwr Julian, ychydig o hanes yr ymgais wnaeth y diweddaf i adeiladu unwaith etto y Deml ar Moriah. Dywedir fod Julian yn amcanu gwneud hyn er peri mai nid gwir fyddai geiriau'r Iesu—"Ni adewir yma garreg ar garreg a'r ni ddattodir." Bernir fod Marcellianus yn llygad-dyst o'r digwyddiad. Fel hyn yr ysgrifena—"Yn ei drydedd Consuliaeth anfona Julian at yr Iuddewon yn cynnyg adeiladu drachefn, ar draul anferth, y Deml fuasai unwaith mor ogoneddus yn Jerusalem; ond pan ymgymmerwyd â'r gwaith y mae fflamau dychrynllyd o dân yn ymsaethu i fyny yn barhaus oddiwrth y sylfeini, gan losgi amryw o'r gweithwyr, a gwneud y fan yn gyfryw nas gellid o gwbl dynesu atto." Am. Marcellianus xxxiii.

Mae amryw haneswyr ar ol Marcellianus yn cyfeirio at y digwyddiad gan ychwanegu rhyw gymmaint at yr hanes. Gwneir hyn gan Socrates iii. 20, Philostorgius vii. 9, Sozomen v. 22, a Theodoret iii. 20. Yn un peth nodir fod y Rhyfel Persiaidd a'r alwad oedd am sylw Julian at honno, wedi bod yn esgus dros iddo beidio gweithio allan ei fwriad ynglŷn â'r Deml, a thros roddi i fyny yr anturiaeth beryglus.

EUDOCIA (439 O.C.). Priod Theodosius oedd hi. Yn ol Socrates ac Evagrius bu yn byw yn Jerusalem—"yn addurno eglwysi y ddinas," "yn adeiladu mynachdai ac yn adgyweirio muriau'r ddinas." Yn arbennig cododd gerllaw'r ddinas adeilad mawr er cof am Stephan, ac yn yr adeilad hwnnw y dodwyd ei chorph hithau i orwedd.

JUSTINIAN (530 O.C.). Dyma'r diweddaf o Ymherawdwyr Rhufain i godi adeiladau yn y Ddinas Sanctaidd. Yr adeilad pennaf a wnaeth oedd Eglwys y Forwyn, Eglwys St Mair, yr hon a godwyd ar Faes y Deml. Credir mai hi, mewn rhan o leiaf, yw yr El Aksa presennol. Yn ol Procopius yr oedd adeiladu St. Mair yn waith mawr a phwysig—"Cludid atti gedrwydd o Libanus, a defnyddid cerrig a cholofnau wedi eu codi o'r chwarelau gerllaw'r ddinas, nad oedd eu rhagorach yn yr holl fyd. Yr oedd aml i garreg neu golofn mor fawr fel yr oedd yn rhaid wrth ddeugain o ychain cryfion i symmud y cerbyd oedd wedi ei wneud at y pwrpas o'u cludo." Procopius, ii.

Credir i Justinian godi Eglwys arall, sef *St. Sophia*, yr hon tua'r flwyddyn 600 O.C. a wahaniaethir gan Antony o Piacenza oddiwrth Eglwys St. Mair—y naill yn sefyll ym Maes y Deml a'r llall ar le'r Pretorium.

"Gosodir St. Sophia yn y Pretorium hefyd gan Theodosius, neu Theodorus, tua'r flwyddyn 530 O.C., ac yr oedd y Pretorium yn cael ei ddangos bob amser gan draddodiad Cristionogol ar y gogledd i'r Deml, yn safle Antonia, ac yn agos i'r Ddeu-lyn sydd yn y ffos-amddiffynol ar y gogledd. Creda de Vogüe fod ölion eglwys fechan, sydd i'w chael yn lluesty presennol Antonia, yn cynrychioli St. Sophia." Conder yn Ngeiriadur Hastings.

ABD EL MELEK (684 O.C.). Fel y sylwyd, efe, fel y mae pob lle i farnu, ddarfu godi yr adeilad pwysicaf sydd yn Jerusalem

yn awr, sef Adeilad Cromenog y Graig (Dome of the Rock). Efe oedd y degfed Califf (enw ar olynwyr Mahomet, ac yn cyfatteb i Sultan), a'i sêdd oedd yn Damascus. Yn ol yr holl awdurdodau Arabaidd, fel y difynir hwy gan Conder, Hayter Lewes, &c., Abd el Melek ddarfu wneud yr adeilad, a'i osod lle y safai y Deml Iuddewig. Yn gyntaf oll gwnaed adeilad llai, yr hwn sydd ar ochr ddwyreiniol yr un mawr, a'r hwn a adnabyddir wrth yr enw, "Cromen y Gadwen" (Dome of the Chain), ac oddiwrth gynllun Bisantaidd yr adeilad bach y gwnaed yr un mawr.

Yn ystod tymhor y Califfiaid caniattawyd i amryw, o dro i dro, megys Siarl Fawr (Charlemagne), i godi adeiladau Cristionogol yn y ddinas.

Y Crwysgadwyr (y 12fed ganrif). Yn ystod y ganrif honno "llanwasant y ddinas gydag eglwysi a phalasau." Newidiasant yr adeiladau oedd yno o'r blaen yn fawr. Er engraifft, rhoddasant ddelw newydd ar Adeilad Cromenog y Graig, ac enw newydd hefyd, sef *Templum Domini.*

Y Mahometaniaid (1187 O.C.). Pan feddiannodd Saladin y ddinas brysiodd i ymlid allan o honi bob delw Gristionogol oedd wedi ei roddi arni. Ail-drefnodd yr Adeilad Cromenog a gwnaeth yr Haram yn Gyssegrfa Fahometanaidd.

Yn ystod y saith canrif ddiweddaf ychydig iawn o adeiladu sydd wedi bod yno, ac y mae'r ychydig hwnnw wedi bod, gan mwyaf, pan lwyddai eraill, heblaw y Mahometaniaid, i feddu ychydig allu yn y ddinas. Oddiwrth gerfiadau ar y muriau gwelir fod Suleiman y Gwych, yn y flwyddyn 1542, wedi bod a llaw mewn dwyn muriau'r ddinas i'w ffurf bresennol.

Y Cristionogion. Yn ystod y blynyddoedd diweddaf y mae Cristionogion y gwahanol wledydd wedi d'od allan i ymgystadlu â'u gilydd mewn codi addoldai, mynachdai, ysbyttai, ysgolion, &c., yn y ddinas sanctaidd, a'r ddinas drwy hynny yn brysur newid ei gwêdd.

*Llyfr y Proff. W. Sanday, D.D., Ll.D., Litt.D., Rhydychain, yn cael ei gynnorthwyo gan Paul Waterhouse, Ysw., M.A., ar "Sacred Sites of the Gospels."*

Tua'r Nadolig diweddaf y cyhoeddwyd y llyfr hwn, ac oblegid safle anrhydeddus Dr. Sanday teimlwn briodoldeb mewn rhoddi amlinelliad o gynnwys y llyfr fel y mae a fynno â'r cwestiynau yr y'm ninnau wedi eu trafod:

1. O'r gwahanol ddosbarthiadau o draddodiadau—y rhai Iuddewig, y rhai Mahometanaidd, rhai y Crwysgadwyr, y rhai Cristionogol berthynent i adeg Cystenyn, a'r rhai Cristionogol berthynent i'r cyfnod Bisantaidd, dywed fod gofyn am ymchwiliad manwl i'r traddodiadau gyssylltir âg adeg Cystenyn, a hynny oblegid ei fod yn hysbys, bellach, nad yw eu gwerth yn cyfatteb i'r pwys osodir arnynt.

2. Tuedda i ddilyn Dr. J. Kreyenbühl (yn y Zeitschrift für die Neutest Wissenschaft) mewn barnu mai nid yn Antonia y traddodwyd Crist i farwolaeth gan Pilat; eithr cymmer mai Palas Herod oedd y *Pretorium*, yr hwn sydd i'w wahaniaethu hefyd oddiwrth y βῆμα—yr orsedd-fainc (Ioan xix. 13), yr hon osodid y tu-allan i'r palas.

3. Barna fod Conder wedi profi i foddlonrwydd beth raid fod *safle* y Deml ar yr Haram.

4. O berthynas i'r *Darlun o Deml Herod*, sydd o wneuthuriad Dr. Schick, datgana Sanday nad oes modd penderfynu pa mor glasurol ydoedd arddull yr adeilad hwnnw. Tuedda ef i gredu, a hynny oddiwrth yr ölion o arddull geir yn Nghladdfa y Brenhinoedd (yn hytrach eiddo Elen o Adiabene) fod arddull y Deml yn fwy clasurol nag y danghosir gan Schick.

Yr ydym ni, yn ein llyfr hwn, yn ol cynghor y Milwriad Conder wedi boddloni ar roddi darlun o honi nad yw yn amcanu dangos yr addurniadau. Wrth wneyd y *model* dibynai M. A. Duthoit yn gwbl ar y tystiolaethau. Gan mai dychymygu raid yn nghylch ffurf yr addurniadau godidog oedd arni, yn arbennig y tumewn, gadewir i'r neb a fynno ychwanegu y rhai hynny at y darlun.

O gydmaru y *cynllun* o'r Haram a'r Deml sydd gennym ar tud. 66 gydag eiddo Mr. Waterhouse cawn eu bod, oddigerth mewn dau neu dri o fanylion, yn hollol debyg. Yn un peth gwahaniaethant ym maintioli y Chel. Ond nid oes dim gwybodaeth beth oedd ei faint. Pan gofir beth oedd amcan y Soreg ymddengys yn annhebygol mai llwybr cul iawn oedd y Chel. Gwahaniaethant hefyd o barth i safle Ystafell y Sanhedrim. Yr ydym ni yn dilyn Josephus mewn gosod yr ystafell honno gerllaw yr adeilad sanctaidd. Dilyna Mr. Waterhouse, fel yr ymddengys, y Middoth (yr hwn a roddir gan Dr. Edersheim fel Attodiad yn ei lyfr ar "Sketches of Jewish Social Life," a byddai'n werth ei ddarllen). Yn ol hwnnw rhoddir y Gazith y tu-allanol i fûr yr Haram.

5. Am y *Porth Euraidd*, ystyria Sanday iddo gael ei wneud yn ei brif wychder gan Heraclius, er coffâd am ei fynediad buddugoliaethus ef trwyddo gyda "gwir groes yr Iesu," yr hon a feddiannodd oddiar y Persiaid yn 629 O.C. Adferiad, modd bynnag, oedd Porth Heraclius o borth blaenorol. Fel y sylwa Sepp, naturiol iawn yw cymmeryd mai trwy borth yn sefyll yn y fan hon y marchogodd yr Arglwydd Iesu yn fuddugoliaethus i'r ddinas o'r Olewydd.

6. Ynghylch *safle Golgotha*, noda fod y tri llyfr Seisnig ymddanghosodd olaf yn ein gwlad, sef *Winter Pilgrimage* gan Mr. Rider Haggard, *Morning Lands of History* gan y Parch. H. Pryce Hughes, a *Macmillan's Guide to Palestine and Egypt*, bob un o bonynt yn cefnogi y "Calfaria Newydd" yn wresog.

Dengys Dr. Sanday duedd yn hytrach i ochri gyda Syr Charles Wilson (yr hwn yn ddiweddar a ysgrifenai ar y cwestiwn i "Quarterly y P.E.F."), a chyda Dr. Schick, Baedeker, Benzinger a'r "Encyclopædia Biblica." Ar yr un pryd, wrth ystyried yr hyn a ddelir ac a ddysgir gan Dr. Merrill a'r Milwriad Conder, heb son am eraill, gwell ganddo adael y mater yn ben agored.

Nid yw yn gallu siarad yn gymmeradwyol am y Morning Lands, nac am y Macmillan's Guide; ond y mae am y Winter's Pilgrimage, ac yn arbennig am lyfr ein hên gyd-efrydydd—y Parch. J. Kelman (Fulleylove and Kelman, 1902). Yn y llyfr hwn gwel Sanday ddelw y beirniad enwog—Dr. Geo. Adam

Smith, cydymaith yr hwn, yn ei daith Ddwyreiniol ddiweddaf, oedd Mr. Kelman. Gwelir y dadleua Mr. Kelman yn gryf dros y Calfaria Newydd, ac yn hyn y mae o bosibl yn adlewyrchu barn ei gyfaill Dr. Smith.

Am y cwestiwn ynghylch *Ophel a Moriah* syniad Dr. Sanday yw mai *Sïon* ydoedd hên enw y ddinas gymmerwyd oddiar y Jebusiaid, yr hon a safai ar ran ddeheuol y bryn dwyreiniol, neu Ophel. Pan adeiladwyd y Deml ar ran ogleddol y bryn yna, neu Moriah, aed i alw yr holl fynydd wrth yr enw Sion.

Gyda hyn daeth yr arferiad i ddefnyddio yr enw Sïon mewn ystyr grefyddol ac ysbrydol yn hytrach nag mewn ystyr leol neu ddaearyddol. Defnyddiwyd yr enw am fryn y Deml cyhyd ag y parhaodd hwnnw yn gyrchfan crefyddol y Genedl. Ond cymhwysodd y Cristionogion yr enw at y bryn gorllewinol, oblegid mai ar hwnnw y safai eu Heglwys hwy. Barn Dr. Sanday felly yw—mai Sïon yr Iuddewon oedd y bryn dwyreiniol (Moriah ac Ophel), oblegid yno yr oedd eu teml; ac mai Sïon y Cristionogion yw y bryn gorllewinol, oblegid yno yr oedd canol-fan eu crefydd hwy. A Sïon y Cristionogion felly, wrth gwrs, yw y Sïon traddodiadol.

8. O barth i'r *Cenaculum (yr Oruwchystafell)* ni theimla Dr. Sanday ddim petrusder i ddilyn y traddodiad. Traddodiad ydyw mae'n wir nad oes ond ychydig o bwys wedi ei gyssylltu âg ef; ond ar ol gwaith Dr. Sanday yn gwneud hynny, rhoddir mwy o bwys arno rhagllaw.

Wrth dderbyn y traddodiad y mae Dr. Sanday yn cael ei hun yn dilyn Dr. Theodor Zahn a Dr. Karl Mommert. Barna y rhai hyn y gellir dibynu ar y traddodiad hwn gyda graddau helaethach o ddyogelwch nag ar y traddodiad am Eglwys y Bedd Sanctaidd.

Cymmerir mai goruwchystafell yn nhŷ mam yr Efengylydd Marc oedd yr un y bu'r Iesu yn sefydlu y Pasc Cristionogol ynddi, ac yn cyfarfod â'i ddilynwyr ar ol ei adgyfodiad. Cymmerir ymhellach mai yr oruwchystafell arbennig yna ddarfu wasanaethu i'r Cristionogion fel eu heglwys gyntaf, a hi felly fu yn ystafell y Pentecost.

Dygir ymlaen dystiolaeth Epiphanius fod Hadrian wedi cael y ddinas, fel canlyniad y dinystr dan Titus, yn un â'r llawr. Nid oedd y Deml yn eithriad, ond yr oedd ychydig adeiladau yn eithr-

iadau ac yn sefyll, ac yn eu plith eglwys fechan i Dduw, yn sefyll, lle'r ymgynnullodd y disgyblion ar ol yr Esgyniad, ac ar yr hyn a elwir yn Sïon yr oedd yr Eglwys fechan honno wedi ei hadeiladu.

Cyfeirir at dystiolaethau haneswyr a theithwyr boreu. Sonia Cyril o Jerusalem yn 348 am yr Eglwys hon ar Sïon. Noda Silvia yn 385 mai yr un ydoedd yr Eglwys hon a'r adeilad, yn yr hwn yr ymddangosodd Crist wedi adgyfodi; a'r un hefyd a'r adeilad i'r hwn y disgynodd yr Ysbryd Ddydd y Pentecost. Noda y teithiwr Theodosius yn 530 mai tŷ yr Efengylydd Marc ydoedd yr Eglwys hon ar Sïon. Noda Antiochus am ddinystriad yr Eglwys yn 614 gan y Persiaid, a'i hadferiad dilynol gan Modestus. Mae hên gynllun ar gael, gwaith Arculf yn 685, yr hwn a esyd allan yr Eglwys ar Sïon, a'r adeiladau cyfagos atti. Gerllaw i dŷ Marc safai tŷ Ioan, yn yr hwn, yn ol un traddodiad, y bu farw Mair y Forwyn.

Yn y flwyddyn 1333 ceir hanes am y Mynachod Ffranciscaidd yn codi eglwys fawr ar le'r Oruwch-ystafell ar Sïon, ac yr ydym i ddeall fod ffurf bresennol yr ystafell yn bod er yr adeg yna.

Yn y flwyddyn 1547 y cymmerodd y Mahometaniaid feddiant llwyr o'r adeilad, a'u gwaith hwy, feallai, yn ei wneud yn fangre bedd Dafydd sydd yn cyfrif am nad yw wedi cael mwy o sylw gan Gristionogion fel lle'r Oruwch-ystafell.

Rhydd y darlun o'r Nebi Daud ar tud. 94 syniad gweddol dda am y lle. Ynghanol yr adeilad, ac yn agos i'r brif gromen a welir, y saif y Cenaculum.

9. Mae Dr. Sanday yn cael fod Proff. Konrad Furrer (yn y Zeitschrift für die Neutest Wissenschaft) a Proff. Guthe, Leipsic, yn ei *Bible Dictionary* newydd yn coleddu yr un golygiadau ag yntau am (1) Balas Herod fel y Pretorium. (2) Y Cenaculum fel safle'r Oruwch-ystafell. Ynglŷn â'r ymdriniaeth ar y Wlad a'i Phobl yn gyffredinol, ystyria Dr. Sanday nas gellir gwneud yn well na dibynu ar eiddo y Milwriad C. R. Conder yn ei "Tent Work" a'i lyfrau eraill.

## YR AWDURON Y CYFEIRIR ATTYNT YN Y LLYFR.

# YR ADNODAU Y CYFEIRIR ATTYNT YN Y LLYFR.

MYNEGAI.

## RHESTR O'R TANYSGRIFWYR.

---

J Herbert Lewis, Esq., M.P., 65, North Side, London.
Mr. W. Jones, Compton Road, Highbury, Llundain.
,, D. Jones, Ecclesbourne Rd. B. School, ,,
Rev. Ed. Lloyd, Fultney, New York.
Mr. Wm. Lloyd, Johnstown, Pa., America (2 copies).
Rev. T. J. Morgan, Bow Street.
Mr. D. Morgan, P.O., Blaenpennal.
,, E. W. Edwards, Liverpool.
,, T. Woodward Owen, 29, Albany Rd., London.
,, R. Davies, Fairfield, Tennyson Rd., Harpenden,
,, J. Ballinger, Cardiff Free Library.
,, W. Parry, J.P., Talybryn, Bwlch (2 copies),
Rev. John Lewes, Aberaman, Aberdare.
Miss Davies, 18, Bridge Street, Lampeter.
Rev. D. Tyler Davies, Bwlch.
Mr. William Williams, Blaenpennal.
The Welsh Church Press, Lampeter (6 copies).
Rev. Principal Prys, M.A., Trevecca College, Talgarth.
Rev. Vice-Principal Ellis Edwards, M.A., Bala.
Mr. D. M. Richards. Wenallt, Aberdare.
Rev. W. M. Davies, B.A., Hendre
Mr. William Jones. Grocer, Llanon.
Rev. E. Afonwy Williams, Abermaw.
Mr. J. R. Evans, County School, Aberllyfeni.
,, Hugh Jones, Foelfriog. ,,
Rev. D. Davies, Hyfrydle, Talysarn.
,, H. Jones-Davies, Arianfryn, Llanrug.
Miss K. Roberts, Hulme. Manchester.
Mr. Joseph T. Roberts, Oswestry.
,, David Griffith, Plas Farm, Llanfairfechan.
,, D. Morgan, Regis., Maengwyn St., Machynlleth.
,, Owen Williams, Glan Clwyd, Bodfari
Dr. W. Williams, J.P., Drim, Fishguard, Pembroke.
Mr. John Williams, Carlingford Street, Liverpool.
,, Edward Hooson, Victoria House, Rhos, Ruabon.
,, Abraham Rees, 21, Regent St., Treorchy, Glam.
Rev. Griffith Ellis, M.A., Pembroke Road, Liverpool.
Mr. David Morris, Pensarn, Llandycefn, Clynderwen.
Rev. D. Eurog Walters, M A., Llandovery, S. W.
Mr. J. Rhys Williams, 3, Stuart Street, Aberdare
Mr. D. Thomas, Gwarllyn, Penuwch Llan. Rd., Card.
,, Evan Humphreys, 58, Inverness Place, Cardiff.
Rev. J. Evans, 59, Beaconsfield St., P. Rd., Liverpool.
,, D. Moses-Davies, Trefecca College, Talgarth.
Councillor Griffith Owen. Carnarvon.
Rev. M. H. Jones, B.A., 13, Morley St., Carmarthen.
,, W. Sylvanus Jones, M.A., Machynlleth.
,, James Morgan, Argoed.
,, T. Jones, ,,
,, E. Davies, Craig-y-gwiail, Maesybont, Llandybie.
Mr. John Lewis, Hill Side House, Blackwood, Mon.
,, W. Watkins, Cwmgelly, ,,
,, D. Lewis, Rhiw Sir David, ,,
,, J. W. Morgan, ,,

Mr. Wm. Williams, 18, Pool Street, Caernarfon.
Rev. D. O'Brien Owen, „
Mr. E. Evans, Rhianfa, Bala.
Miss C. A Owen, Fron Ganol, Ebenezer.
Mr. W. Henry Parry, Bryn Mair, Llanfair M. E.
Rev. Wm. Evans, M.A., Pembroke Dock.
Miss Davies, Gwynfynydd, Caersws, Mont.
Rev. W. Williams (Einion), Rhostryfan.
„ W. Keinion Thomas, Portdinorwic.
Mr. W. T. Davies (Gwilym Llwyd), Penycoed, Prion.
„ Jonathan Davies, Bryn Eirian, Portmadoc.
„ Robert Richards, Pensarn, Llanbedr.
„ Wm. Davies, Cefn Coch, Llanfechell, Rhosgoch.
Rev. D. Teifi Davies, Trefecca College, Talgarth.
Mr. T. J. Cynfi, Yr Ysgol, Prenteg, Portmadoc.
„ G. Roberts, Brynbychan, Chwilog.
„ D. J. Rowlands, 28, Garnons Street, Carnarvon.
Rev. Thomas Griffith Owen, Rhostryfan.
Mr. R Jones-Hughes, „
„ R. O. Pritchard, 9, Wylva Rd., Anfield, L'pool.
„ J. Evans, Librarian, Cilfynydd, near Pontypridd.
„ Edward Jones, Penrhos, Llanfechell, Anglesey.
Mr. O. H. Owen, Newsham Park, Liverpool.
„ Owen Owen, N. & S. Wales Bank, Pwllheli.
„ E. Davies, Brighton Place, Oak St., Oswestry.
„ John Evan Roberts, J.P., Bryn-y-môr, Bangor.
„ H. L. Parry, Tyddyn Llywarch, Llanuwchllyn.
„ G. O. Griffith, Post Office, Rhosgadfan.
„ R. Williams, F.R.H.S., Celynog, Newtown.
Rev. J. Roberts-Evans Edgbaston, Birmingham.
„ John Evans, Llanfaircaereinion, Welshpool.
„ E. Griffiths, Meifod, „
Mr. R. G. Pritchard, Castle House, Penrhyndeudraeth
„ D. Evans, Solicitor, Machynlleth.
Mr. Levi Jones, London House, Llanfaircaereinion.
Dr. J. Owen Jones, Llwyn Onn, Treffynnon.
Mr. W. T. Williams, Bettws Garmon.
„ Lewis Evans, Corn Merchant, Llanidloes.
„ J. Williams, Pant-teg, Capel Ifan, N.C. Emlyn.
„ Tryfanwy, Portmadoc.
„ B. Lewis, Glyn Elyrch House, Ton, Pentre.
„ Lewis Jones, Cleveland House, „
„ M. Roderick, 15, Bailey St., Pentre, „
„ Walter Williams, Lloyd's House, „
„ Nath. Rosser, 1, Margaret St., „
„ J. Richards, Grocer, „
„ Thos. W. Davies, Teifi House, „
„ David J. Richards, 17, Bailey St., Ton, „
„ D. J. Davies, 21, Queen Street, Ton, „
„ David Williams, 19, Elizabeth Street, „
„ John Morris, 27, Bailey Street, Ton, „
„ David Davies, 58, Bailey Street, „ „
„ T. G. Jones, 1, Canning Street, „ „
„ Wm. Parry, 11, Canning Street, „ „
„ Evan Morgan, 6, Bailey Street, „ „
„ Ben Devonald, 26, Queen Street, „ „
„ Thomas H. Jones, Carno House „ „
„ John Jones, Grocer, London House, „

Rev. T. A. Penry, The Manse, Aberystwyth.
Miss Winnie Lloyd, Bethseilun, ,,
Dr. Thomas, ,,
Mr. Thos. Evans, Cambrian Square, ,,
,, Hugh J. Evans, Norton Terrace, ,,
,, Wm. Williams, Trefor Road, ,,
,, David Watkins, ,,
Rev. D. Thomas, U.C.W., ,,
Miss E. A. Morgan, Thespian Street ,,
,, Kate Owen, North Parade ,,
Mrs. M. Rowlands, ,, ,,
,, Jones, Pentre View ,,
Mr. J. Morgan Edwards, Laurels ,,
,, E. Percy Edwards, ,, ,,
Miss Winifred M. Edwards, ,, ,,
,, C. Mabel Edwards, ,, ,,
,, F. Blodwen Edwards, ,, ,,
,, Florence Edwards, ,, ,,
Master W. Stanley Edwards, ,, ,,
,, Peter W. Edwards, ,, ,,
,, David H. Edwards, ,, ,,
Mr. William Richards, Cae-ffynnon, ,,
Mrs. T. Edwards, Penglais fach, ,,
Miss James, Mansel Villa, ,,
Mr. Stephen Owen, Vaynor Street ,,
,, D. M. Jones, North Parade, ,,
,, Daniel Thomas, ,,
,, Richard Jones, William Street, ,,
,, W. J. Evans, North Parade,
,, John Davies, Spring Gardens, ,,
Miss Jenkins, Granville, ,,
Mr. T. W. Powell, ,,
,, Evan Bonner, Epworth Terr., ,,
,, Evan Jenkins, Princess Street, ,,
,, J. Evans, Bodlondeb ,,
,, Evan Evans, Solicitor, ,,
,, W. H. Morgan, Pier Street ,,
,, J. E. Tibbott, Trefor Road ,,
,, Joseph Owen, Stanley Terrace, ,,
,, T. Ll. Evans, Hendre Villa, ,,
Rev. R. H. Edwards, Capel Sion, ,,
Prof. W. J. Jones, M.A., U.C.W., ,,
Mr. William Thomas, New Quay.
,, R. D. Williams, Pen-y-bryn Cottage, Corwen.
,, David Davies, (2 copies)
,, R. D. Roberts, J.P., ,,
,, H. Hughes, Meirion, ,,
,, R. R. Jones, Exchange Stores, ,,
Miss Maggie Jones, Fron Hyfryd, ,,
Mr. D. Davies, Ton, Ystrad.
,, W. J. Davies, 130, High Street, Treorchy.
,, W. O. Thomas, ,,
Miss Elizabeth Anne Jones, Beehive, Llangefni.
Rev. J. Morris, 142, Castle Road, Cardiff.
Mr. H. S. Roberts County School, Corris.
,, D. Wynne. Arddol Terrace, ,,
,, Thomas Jones, Park Terrace ,,
,, William Owen, Pandy, ,,

Mr. D. Davies, Minffordd Street, Corris.
,, David Owen, Glanllifau, ,,
Dr. J. T. Jones, ,,
Mr. Morris Thomas, ,,
,, D. R. Lloyd, Tanrallt, ,,
,, John Owen, ,, ,,
,, Edward Lewes, Gaerwen ,,
,, David Humphreys, Penrhiw ,,
,, William Morris, Garreglwyd ,,
,, E. R. Morris, ,, ,,
,, H. Davies, J.P., Abercorris ,,
,, Richard Hughes, ,, ,,
,, H. H. Disley, Bronygog ,,
,, Evan Davies, Greenfield Terr., ,,
,, Richard Owen, ,,
,, H. Williams (Ap Idris), ,,
Mrs. Jones, Frondeg, ,,
Mr. L. Lewis, Dunraven Terrace, Gowerton.
Mr. Henry Jones (Gwynedd), 131, Boughton, Chester.
Dr. E. Hughes, Ton, Pentre.

CAERNARFON:

ARGRAPHWYD GAN W GWENLYN EVANS, POOL STREET.